# PREGETHAU,

GAN Y

PARCH. LEWIS EDWARDS, D.D.,

BALA.

YSGRIFENWYD WRTH EU GWRANDO GAN Y PARCH. O. JONES, M.A.



Caernarfon:

ARGRAPHWYD A CHYHOEDDWYD GAN W. GWENLYN EVANS.

1898.

# CYNNWYSIAD.

PREGETH I.

# PREGETH I.

HOSEA viii. 12: "Mi a ysgrifenais iddo bethau mawrion fy nghyfraith, ac fel dyeithr-beth y cyfrifwyd."

Y PETH cyntaf sydd yma ydyw Duw yn ysgrifenu, ac wedi ysgrifenu i ddyn, ac at ddyn: "Mi a ysgrifenais iddynt." Rhyw gelfyddyd ryfedd iawn ydyw y gelfyddyd o ysgrifenu. Erbyn i ni ystyried, y mae rhywbeth gwir ryfedd yn y ffaith fod dyn yn gallu rhoddi ei feddwl i lawr ar femrwn neu bapur, ac i ddyn arall i'w weled; gwneyd meddwl yn weledig. Yr ydym ni yn cynefino â hyny, ac heb weled dim neillduol ynddo. Ond pe buasech yn ystyried yn awr beth yw hyn. Y fath beth dirgel ydyw meddwl dyn; ysbryd dyn, yr hwn sydd ynddo; teimladau y galon; ac eto, y mae y Duw mawr wedi dysgu dyn i roddi ei feddwl, a'i deimlad, yn weledig, mewn ffurf weledig i ddynion ereill. Ac nid dyna'r cwbl: ond trwy gyfrwng ysgrifen yr ydych yn gweled meddwl rhai pell. Trwy leferydd y mae dyn yn gallu gweled meddwl un yn bresenol: ond trwy gyfrwng ysgrifen yr ydych yn gweled meddwl dyn y tudraw i'r môr. Nid oes genych un gobaith ei weled yn bersonol; ond yr ydych yn cael golwg ar ei feddwl ar bapur-ddarlun o'i feddwl ef, a chwithau yn gallu anfon eich meddwl ato yntau. Y meddwl oedd ynoch ychydig yn ol, yr ydych yn gallu ei lapio i fyny mewn papur. Peth digon rhyfedd yw hyny: fod yn bosibl cau meddyliau mewn papur, a'u hanfon filldiroedd dros y moroedd! Dim ond eu hagor, dyna eich meddwl yn y golwg! Fe effeithia, fe gynyrcha effaith priodol yn y darllenydd. Dyma beth yw ysgrifenu.

A thrwy gyfrwng ysgrifen yr ydych yn gweled meddyliau rhai pell mewn amser. Y mae y gelfydydd yma rywsut yn difodi pellder lle ac amser. Yr ydych yn cael gweled meddyliau hen bobl dduwiol fu yn y byd yma ryw oesoedd aethant heibio. Yr ydych yn cael cymdeithasu â hwy eto. Yr ydych yn gweled darlun o'u hysgrif, o'u henaid. Y mae yn fwy na darlun o'r corph o lawer iawn. Y mae yn dda genych gael darlun o agwedd gorphorol un enwog, sydd wedi bod, ag y clywsoch lawer am dano. Ond, dim ond chwi ddarllen ei ysgrifen, cewch ddarlun o'i ysbryd; cewch weled y fath yspryd, fath enaid oedd ganddo. Nid oes neb o'r *photographers* all wneyd hyny—tynu darlun o enaid. Ond y mae hyny yn cael ei wneyd trwy ysgrifenu. Y mae meddyliau y dynion mawr fu yn Nghymru—y maent i'w cael eto: Mr. Charles, a Mr. Lloyd o'r Bala; a meddyliau John Howe, a Dr. Owen. Y mae eu cyrph wedi malurio ac ymgymysgu â llwch y ddaear, ond y mae eu meddyliau yn fyw eto. Pa fath un oedd Dr. Owen? Wel, darllenwch ef, cewch weled y fath enaid oedd ganddo, a'r fath feddyliau oedd ganddo. Gellwch gael golwg ar feddyliau John Bunyan mewn ysgrifen; Newton, Augustine, Calvin a Luther. A fuasai yn dda genych dreulio awr yn eu cwmni? Ond cewch dreulio oriau gyda'u meddyliau pan fynoch: â'u pethau goreu; oherwydd y rhai hyny oeddynt yn eu rhoddi i lawr. Y maent wedi gadael y pethau goreu i ni i dderbyn addysg a bendith oddiwrthynt. Peth mawr ydyw ysgrifenu.

I. Ond y mae yr adnod yma yn ein codi ni uwchlaw y Dr. Owen yn bell, bell: uwchlaw Calvin, Newton. Dyna mae hi yn ddyweyd,—*fod Duw wedi bod yn ysgrifenu*: y Duw anweledig, nas gall neb ei weled a byw. Y mae y Duw mawr wedi rhoddi ei feddyliau yn weledig.

Dyma bellder—pellder rhwng dyn a Duw! Ac eto, y

mae meddwl Duw wedi dyfod yma mewn ysgrifen. Y mae yn anmhosibl mesur y pellder yma. Nid oes mesur arno, na dim tafod all ei ddyweyd. Pe buasai angel yn ceisio cyrhaeddyd y pellder rhwng dyn a Duw, er trafaelio mil o flynyddoedd, ni byddai yn nes i'r pen draw. Gellwch fyned yn nes i'r haul, er na ellwch ei gyraedd. Nid oes dim myned yn nes at Dduw o ran mawredd, o ran ei hanfod. Pe bai yn gollwng rhywun i deithio myrdd, myrdd o oesau, ni byddai ddim nes yn y diwedd nag yn y dechreu. Bydd Duw mor bell wedi hyny. Bydd anfeidroldeb wedi hyny rhyngddo â'i Dduw.

Ac eto, dyma lythyr wedi dyfod o'r pellder yna. Dyma ysgrifen, dyma lyfr wedi dyfod yr holl bellder anfesurol yna atom ni yma heddyw; a dim ond i chwi ei agor, dyna sydd ynddo—meddyliau y Duwdod: meddwl yr Anfeidrol mewn ysgrifen.

A phaham y soniwn am bellder amser hefyd? Peth go ryfedd ydyw fod ysgrifeniadau hen awdwyr ar gael—meddyliau rhai oedd yn byw ddwy fil o flynyddoedd yn ol; a'u gwaith heb fod ar farmor, ond ar bapur. Pe ar farmor y buasent, buasent wedi colli; buasai amser wedi eu treulio. Ond ar femrwn a phapur y maent i'w cael heddyw. Ond dyma sydd yn rhyfedd—Meddwl Tragywyddol ar gael: rhyw hen feddyliau cyn rhoddi sail i'r mynyddoedd,—cyn i'r Duw mawr fesur â chwmpawd le y greadigaeth,—cyn i'r goleuni ddyfod allan trwy rinwedd y gair "Bydded;' rhyw hen feddyliau yn nhragywyddoldeb, y maent wedi dyfod atoch: gellwch eu gweled—gweled beth oedd yn meddwl Duw yn nhragywyddoldeb diddechreu. Y mae wedi ei ysgrifenu. Nid oedd yn beth rhy fach ac isel gan y Duw mawr roddi ei feddyliau tragywyddol mewn ysgrifen: "Mi a ysgrifenais." A dyma fe: dyma y cwbl a ysgrifenodd. Y mae llawer o awdwyr yn y byd yma wedi

ysgrifenu mwy; ac y mae hyn yn dangos mai nid wrth faint y mae i ni fesur pethau. Nid ysgrifenodd lawer o gyfrolau. Y mae golwg Duw ar y tlodion: ac ni buasech yn gallu prynu llyfrau mawr. Crynhôdd ei feddyliau i ychydig yn y fan yma—yn Llyfr: nid yn llyfryn, ond yn Llyfr. Y mae dynion yn gofyn llawer iawn o le yn aml i ddyweyd rhyw ychydig, ac nis gallant ei wasgu i ychydig le; ond medrodd Duw roddi meddyliau tragywyddol mewn ychydig o le ar bapyr, fel y gall pawb ddarllen ei Lyfr.

Cofiwch beth ydyw y Beibl yma—Duw wedi ysgrifenu. Drwy ddynion, mae yn wir. Fel yr ydych chwithau yn ysgrifenu drwy y pin; ac nid wyf yn ameu nad yw dull yr offerynau i'w weled. Nid oedd Duw yn difodi priodoliaethau yr offerynau wrth ysgrifenu. Y mae priod-ddull pob un i'w weled. Ambell un yn arddunol; y llall yn cyraedd y dymer; y llall yn ymresymiadol. Gall Duw wneyd hyn: gall wneyd defnydd o ddull ac ewyllys ei greadur, heb ddinystrio priod-ddull y dyn hwnw; ac eto, gall meddwl y Duwdod redeg trwyddo i ni yma. "Mi a ysgrifenais."

Wel, dyna yr ail fater,—*Y Pethau a Ysgrifenwyd.*

Y mae yn werth gofyn beth ddywedodd, os daeth i ysgrifenu. Y mae pawb yn holi, os clywant am un enwog yn ysgrifenu llyfr, "Beth sydd ynddo?" "A welsoch chwi ef?" "Y mae hwn-a-hwn wedi ysgrifenu llyfr: Beth sydd ganddo yn awr?" Ië, fy anwyl wrandawyr, y mae yn werth i chwi ofyn. Dyma un wedi ysgrifenu llyfr, y mae yn syndod na byddai y byd yn chwilio beth sydd ynddo. Beth y mae yn ei ddyweyd? Am beth y mae wedi ysgrifenu? Beth a gymerodd yn destyn i ysgrifenu arno? Rhywbeth mawr, mae yn ddiau. Ond beth yw ef? A ysgrifenodd efe am y sêr? Naddo. A ysgrifenodd efe draethawd ar *Astronomy?* Y mae yn dyfod a'r sêr i mewn weithiau, ac yn dyweyd gair wrth fyned heibio am danynt. Ond nid dyna ei destyn, ond

pethau mwy. A ddeallasoch chwi, gyfeillion, fod rhywbeth mwy yn bod na'r greadigaeth, mwy na'r sêr, na'r heuliau? A ddeallasoch chwi fod rhyw fater yn bod mwy pwysig nag *Astronomy*, na philosophi? Nid ydym yn erbyn i chwi eu hastudio: ond peidiwch anghofio y pethau mawr. Pethau bach ydynt yn ymyl hyn. Y maent yn fawr yn ymyl pethau ereill. Ond dyma fater sydd yn gwneyd pob mater yn beth bach. Y mae yn ddigon mawr i eclipsio pob mater arall. *Astronomy* a philosophi—y maent yn bethau bach, distadl, dibwys, yn ymyl mater mawr y Beibl.

Peth mawr! "Mi a ysgrifenais iddo bethau mawrion fy nghyfraith." Pethau bach ydyw pob peth amser yn ymyl tragywyddoldeb. Y mae amser yn fawr i ni; ond yn ymyl tragywyddoldeb y mae yn beth bach. Oesoedd amser, a'i helyntion, a'i drafferthion: yr holl helynt rhwng brenhinoedd—ymladdau, chwyldroadau gorseddfeinciau: na, nid ydynt yn bethau mawr, ond pethau bach yn ngwyneb tragywyddoldeb. Y mae delw amser ar bob peth ond pethau y Beibl. Y maent yn myned heibio. Ond y pethau mawr yw y rhai sydd yn aros—pethau nad oes newid arnynt. Y mae rhywbeth yn bod sydd yn cyraedd y tudraw i amser. Pethau y Beibl, yn mhen myrdd o oesoedd, dechreu dyfod i'r golwg y byddant. Ant yn fwy, fwy. Y mae eu mawredd yn dragywyddol. "Pethau mawrion."

A ydych chwi yn astudio y pethau mawrion yma? Astudiwch faint fynoch ar bethau mawrion; ond astudiwch y pethau mawrion yma. Astudiwch bolitics; ond deuwch at bethau mawr y Beibl. Y maent yn rhoddi mawredd ar bob peth a berthyn iddynt: ar foddion gras a phregethu uwchlaw pob areithio. Nid oes genyf ddim yn erbyn i chwi ddarlithio ar bethau amser; ond y mae pethau y Beibl yn fwy, am fod a fynont â phethau mawrion tragywyddol. Y mae mawredd y Beibl yn gwisgo mawredd

ar yr ysbryd uwchlaw ysgolion mawrion y byd. Y mae yn fwy pwysig na holl athroniaeth y deyrnas. A ydych gyda'r pethau mawrion yma?

"Pethau mawrion," a "phethau mawrion y gyfraith" hefyd. Y mae pethau mawrion Duw yn gyfraith. Nid hanes, ond cyfraith. Y mae yn eich gofyn chwi, yn gofyn eich ufudd-dod, yn ei hawlio. Y mae yn siarad yn bur awdurdodol. Y mae grym gorsedd yn mhob gair. Cyfraith ydyw. Gellwch wneyd fel y mynoch â llyfrau ereill. Ond dyma lyfr yr ydych yn *bound* o'i ddarllen. Y mae yn hawlio derbyniad. Cyfraith o orsedd y nefoedd ydyw pethau y Beibl. Cofiwch chwithau gymeryd y Beibl yn gyfraith. Beth bynag ddywedodd yr Arglwydd ynddo, y mae wedi ei benderfynu am byth: nid oes dim dyweyd yn ei erbyn. Gellwch ddyweyd yn erbyn awdwyr ereill, ac ymresymu: "Yr wyf fi yn cyd-weled âg ef yn hyn; ond dyma bwnc arall nad wyf yn cyd-weled âg ef." Y mae genych hawl i siarad fel yna. Ond dyma lyfr a'ch barna chwi, yn lle i chwi ei farnu ef. Ac at hwn y bydd yn rhaid dyfod yn y dydd a ddaw.

Wel, sut y mae rhyngoch â'r gyfraith—cyfraith y nefoedd? A ydych yn plygu iddi? Wrandawyr y Bala, a ydych yn plygu i roddi ufudd-dod iddi? Peidiwch a myned i ddadleu ar ol i Dduw roddi cyfraith ar y mater. Dyna ydyw anian y Cristion, anian ufudd i'r gyfraith. Beth bynag y mae yn ei ofyn, cyfraith ydyw. Gall fod yn anhawdd i gig a gwaed. Y mae yn gofyn i mi dynu y llygad dê, a'r fraich ddê. Y mae yn anhawdd; onid oes modd ei osgoi? Na; y mae Duw wedi rhoddi cyfraith ar hyny. Rhaid i ni ymwadu â ni ein hunain. Y mae yn beth pur groes. Ydyw; ond dyna y gyfraith. Rhaid i ni weithio yn y winllan, a phroffesu yr Arglwydd Iesu, a byw er ei glod, a rhoddi ein cyrph a'n meddianau yn

eiddo iddo. Y mae yn bur groes i'n meddyliau; ond dyna y gyfraith. Yr y'm yn *bound* o blygu. Byddai yn beth mawr pe deuai y bobl ieuainc at y gyiraith, yn lle myned i ymresymu, a gwrando ar gig a gwaed—ond cymeryd gair Duw yn gyfraith.

III. *Ymddygiad dynion at y pethau mawrion a ysgrifenodd Duw.* "Fel dyeithr-beth y cyfrifwyd hwynt." Duw wedi ymostwng i ysgrifenu ei feddyliau tragywyddol, a dyn yn edrych ar y cwbl fel pethau dyeithr. Beth ydyw hyny? "Fel dyeithr-beth y cyfrifwyd hwynt." Edrych arno fel rhywbeth nad yw yn perthyn i ni: "Nid yw yn perthyn i ni; gall fod i bobl ereill; ond nid yw o bwys i ni." Felly yr ydym pan yr awn oddicartref, a gweled canoedd o bobl ar yr ystrydoedd—nid ydym yn aros i sylwi ar y naill na'r llall. Paham? Wel, nid ydynt yn perthyn i ni, nac yn gyfeillion i ni: ond pobl ddyeithr. Felly y mae canoedd yn ein gwlad yn gwneyd â phethau y Beibl. Cenadwri y nefoedd,—cenadwri o orsedd Duw yn rhwymo—y maent yn myned heibio iddynt fel pethau yn perthyn dim i ni. Ysbryd Duw a ddangoso i rywun yma fod pethau y Beibl yn perthyn i ni. Mae a fynont â ni. Ein pethau ni ydynt. Nid pethau draw yn rhywle; nid hanes am wledydd pell, a phobl draw: ein pethau ni ydynt. Y mae yma rywbeth deublyg—pethau mawrion, a phethau i ni: pethau mawrion Duw, a phethau yn dwyn perthynas â'n cyflwr ni. Ein pethau ni ydynt. Y mae llawer iawn o wybodaeth yn y byd; ond nid ydynt ddim i ni. Nid oes dim a fynont yn neillduol â'n cyflwr. Y maent yn dyweyd am fydoedd, oesoedd, a gwledydd ereill. Ond dyma lyfr yn dyweyd am danat ti, ac wrthyt ti. Y mae wedi ei ddirectio atat ti —y llythyr hwn. Pwy bynag sydd ganddo glustiau,—lle bynag y mae dyn a pherchen enaid ar y ddaear, y mae a fyno y Beibl â hwnw. A dyna sydd rhyngoch a rhoddi

parch i'r Beibl, a lle priodol i'w bethau—cymaint sydd rhyngoch â'i weled fel peth i chwi. Daliwch eich hunain yn ei wyneb, a chymerwch ef i chwi eich hunain. Ti yw y gwr. Y mae yn son am ddynion drwg iawn er's llawer dydd ; am bechodau a chyflwr drwg iawn. Wel, ti yw y gwr ! Y mae yn son am y perygl o anghrediniaeth, a sefyllfa y rhai hyny sydd yn gwrthod Iesu Grist ; a cholli yr enaid wrth enill y ddaear. Ti yw y gwr : am danat ti y mae yn son. Y mae yn son am werth enaid, a rhyw gyfrif. Wel, ti yw y gwr ! Am y Farn a fydd, am ddiwrnod y bydd y beddau yn agor, a rhyw dyrfa fawr yn sefyll wrth y bar, a'r *Judge* yn eistedd i farnu dirgeloedd dynion. Y mae yn son am ryw rai yn gorfod ymddangos ger ei fainc ef. Wel, ti yw hwnw ! Byddi di yno ! Fe ddaw y Farn, er i chwi daflu geiriau Duw o'ch ol, ac edrych arnynt yn bethau heb berthyn i chwi. Duw Tragwyddoldeb a'r dydd mawr ! Byddi di yno ! Ac y mae y gair yn adsain yn ol i'r pwlpud yma, Byddaf fi yno Cymerwn eiriau y Beibl i ni. Cyflwr pechadur. 'Ië, dy gyflwr di. Y mae dyn yn golledig wrth natur. Wel, ti yw hwnw ! Ti yw y gwr !

Y mae yma ochr arall. Y mae yn son am ffordd i gadw, a Cheidwad i bechadur. Wel, i ti y mae hwnw ! Y mae yn son am ryw un yn gyfiawnder, yn brynedigaeth, ac yn sancteiddrwydd. I ti y mae hwnw ! A gymerwch chwi ef, gyfeillion ? Peidiwch a'i gymeryd yn beth i ereill. Y mae Duw wedi ysgrifenu ei fod wedi caru y byd nes anfon ei unig-anedig Fab. Rhoes hyny ar bapyr, ac anfonodd ef i ni. Cred ynddo. Y mae holl gyfoeth yr iachawdwriaeth i ti yn cael ei chynyg. Y mae Duw yn cynyg ei Fab i ti yn awr. Deued Ysprydd Duw i dy wahanu am heno oddiwrth bawb arall, yn ngwyneb y gyfraith, fel na byddo genyt le i ddianc ond trwy yr Iawn ; i ddangos fod yn rhaid i ti fentro dy fywyd dy hunan, a'th enaid dy hunan ar yr hwn a osododd

Duw yn Iawn. Y mae yn cael ei gynyg i ti, pwy bynag wyt,—i bechadur, i'r hwn a ddêl. Pwy bynag sydd yn ochain, ac heb ddim, yn drwmlwythog yn y fan yma, i hwnw y mae y cynyg, a'r newydd da. Y mae y llythyr wedi ei ddirectio o'r Nefoedd, o Galon y Duwdod, o Arfaeth Tri yn Un.

Dyma drefn a'i golwg arnat ti; a'i gwahoddiad yn bersonol i ti i ddyfod i mewn. O dyro dderbyniad i'r pethau mawrion yma heno! Wel, gyfeillion, dyma Duw wedi ysgrifenu atoch chwi. A wnewch chwi ei dderbyn? A rhoddwch le i'r pethau mawrion, pethau mawrion trefn yr iachawdwriaeth, a'r cyfamod gras.

Y mae yma Dduw mawr! Y mae modd ei gael yn Dduw i ti! A Cheidwad mawr! Y mae modd ei gael yn Geidwad i ti! Ac Iachawdwriaeth Fawr! Y mae modd ei chael i ti! Bendith Duw er mwyn ei enw, Amen.

## PREGETH II.

PHILIPPIAID ii. 12, 13:—"Am hyny, fy anwylyd, megis bob amser yr ufuddhasoch, nid fel yn fy ngŵydd yn unig, eithr yr awrhon yn fwy o lawer yn fy absen, gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain trwy ofn a dychryn. Canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu o'i ewyllys da ef."

YR oedd yr Apostol, fel y mae y geiriau yn dangos, yn absenol oddiwrth y Philippiaid; ond nid oedd, oherwydd hyny, yn eu hanghofio, nac yn ddifater yn eu cylch. Y mae yn gwneyd defnydd o'r cyfleusdra i wasgu at eu meddyliau yr angenrheidrwydd am fod yn fwy ymdrechgar, o gymaint a'i fod ef yn absenol: "Yr awrhon yn fwy o lawer yn fy absen." Y mae yn eu galw i ymdeimlo â'u cyfrifoldeb yn fwy, ac i ymaflyd yn fwy egnïol yn eu gwaith, ac i gofio mai nid ar bresenoldeb Paul, na neb o'r apostolion, yr oedd hyny i ymddibynu, ond ar Dduw, yr hwn oedd yn gweithio yn mhob ewyllys a gweithred, o'i ewyllys da ef.

Yr ydym yn cael yma engraipht o'r hyn sydd mor amlwg drwy yr holl Feibl—y gwirioneddau cyferbyniol: y naill ar gyfer y llall, a'r naill yn taflu goleu ar y llall. Yr achos cyffredin o fychander mewn barn, ac mewn profiad, ydyw cymeryd rhyw un gwirionedd ar wahan oddiwrth wirioneddau ereill. Felly gyda'r pwnc yma. Byddwn ni yn fynych yn teimlo fel pe byddai rhyw anogaeth i ddyn i weithio yn tueddu i gymylu gras Duw yn iachawdwriaeth pechadur. Ac wedi hyny, y mae rhai yn ofni dyweyd llawer ar Benarglwyddiaeth Duw, ac etholedigaeth, a gwaith yr Ysbryd Glân, rhag i hyn fod yn achlysur i'n segurdod ni. Y mae yn bosibl i ddyn wneyd camddefnydd felly o'r gwirionedd.

Ond y ffordd oreu ydyw dyweyd y gwir fel y mae yn amlwg yn y Gair, yn ei eangder a'i helaethrwydd, a gofalu am ddyweyd yr holl wir, ac nid rhyw ran ohono.

Ac nid yn unig hyny hefyd, ond y mae perygl rhag gadael allan rhyw un gwirionedd. Byddwn ni yn fynych iawn yn gwanhau y naill wirionedd wrth godi y llall, er ein bod yn addef y ddau. Ond y mae yn anhawdd ein cael i osod allan y ddau yn y grym a'r helaethrwydd sydd yn perthyn iddynt ynddynt eu hunain. Ni raid i ni ddim gwasgu ar derfynau un gwirionedd er mwyn cael lle i wirionedd arall. Ni raid i ni ddim rhoddi rhyw eithriadau a rhyw derfynau i ddyledswydd dyn rhag ofn i ni fyned yn rhy bell i ormesu ar waith Duw. Ac ni raid i ni byth roddi rhyw derfyn i waith Duw rhag ofn i hyny ormesu ar waith dyn.

Edrychwch fel y mae yr apostol yn dangos y ddau fater. Y mae yn dangos dyledswydd dyn mor ddifloesgni a phe bai y cwbl yn ymddibynu ar ddyn. "Gweithiwch allan eich iachawdwriaeth eich hunain trwy ofn a dychryn." Nid oes yma ddim rhyw derfynau yn cael eu rhoddi. Nid yw yn meddwl dyweyd, Gofalwch beidio myned yn rhy bell hefyd. Na ; Gweithiwch, gweithiwch, a gweithiwch allan. Ystyr y gair ydyw, gweithiwch yn effeithiol, gweithiwch yn gyson, gweithiwch hyd y diwedd, gweithiwch allan. Nid yw yr Apostol yn golygu, gweithiwch chwi y tuallan, ac fe weithia Duw y tufewn. Nid dyna y meddwl ; ond gweithiwch yn ddiflino, gweithiwch o hyd, gweithiwch allan, a gweithiwch allan eich iachawdwriaeth. Gwelwch mor ddifloesg ydyw geiriau yr Apostol : Gweithiwch chwi, a gweithiwch chwi eich iachawdwriaeth eich hunain. Nid yw yn petruso galw ar ddynion i weitho allan eu hiachawdwriaeth.

Ond yn nglyn â hyn y mae y geiriau mwyaf helaeth sydd yn bosibl gael am waith Duw yn y cwbl. "Duw yw yr

hwn sydd yn gweithio ynoch;" yn gweithio ynoch. Ac nid Duw sydd yn gwneyd rhyw ran o'r gwaith, ond Duw sydd yn gwneyd y cwbl, yr ewyllysio a'r gweithredu. Pe bai efe yn rhoddi yr ewyllysio, a ninau yn rhoddi y gweithredu? Na; ni wnewch chwi ddim; Duw sydd yn gweithio ynoch ewyllysio a gweithredu; ac y mae yn gwneyd hyny o'i Benarglwyddiaeth, heb i un ohonoch haeddu; y mae yn gwneyd y cwbl o'i ewyllys da ef.

Y mae yr apostol, fel yna, yn rhoddi y ddau bwnc yn ymyl eu gilydd. Nid yw yn rhoddi dim rhyngddynt rhag iddynt fyned i ymryson. Y mae yn gosod y ddau ochr yn ochr; ac nid yn unig hyny, ond y mae yn eu cysylltu a'u cylymu, "*canys* Duw." Y mae yn rhoddi y naill yn sail i'r llall; gwaith Duw yn rheswm dros waith dyn. Gweithiwch allan, canys Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch.

Ni gymerwn y gwirioneddau hyn fel y maent yn eu cysylltiad—*Gwaith Duw yn sail ac yn rheswm i waith dyn.* Nid oes modd i chwi fyned yn ormod gyda'r naill na'r llall, ond i chwi beidio eu rhoddi yn erbyn eu gilydd. Nid oes modd i chwi fod yn rhy ymdrechgar gyda gwaith eich iachawdwriaeth, ond gofalu am roddi y cwbl i bwyso ar waith Penarglwyddiaeth Duw yn y cwbl. Ni edrychwn ar y mater mewn tri golygiad.

*I. Gwaith Duw yn sylfaen i waith dyn cyn ei dröedigaeth.*

*II. Gwaith Duw yn sylfaen i waith dyn yn ei dröedigaeth.*

*III. Gwaith Duw yn sylfaen i waith dyn ar ol ei dröedigaeth.*

*I. Gwaith Duw yn sylfaen, neu yn galw am waith dyn cyn ei dröedigaeth.*

Carwn ddyweyd rhyw air fyddo yn dwyn perthynas â rhai sydd yma yn gwrando. Pe medrem gael gafael yn ein gilydd i ddyweyd rhywbeth fyddo yn dwyn perthynas â

sefyllfa y gwrandawyr! Yr wyf yn meddwl mai yn y fan yma y mae dosbarth mawr o wrandawyr Cymru y dyddiau hyn—yn aros am rywbeth a ddywedir, rhywbeth na chawsant ef eto, cyn meddwl am dröedigaeth. Y maent yn meddwl am fyned i'r nefoedd i gyd wedi marw. Pawb ohonoch chwi, nid ydych yn meddwl llai na chael y nefoedd yn y diwedd. Ond y mae yn bosibl fod yma amryw yn y gynulleidfa hon yn aros mewn difaterwch a diffrwythdra nes y daw y tro, oddiar ryw dybiaeth nad yw o un dyben iddynt wneyd dim, na cheisio gwneyd dim nes y daw y tro yn gyntaf. Yn enwedig ar ol y diwygiadau a gawsom, yr ydym wedi myned yn fwy i'r fan yma nag o'r blaen. Y mae y dyn fel pe bai yn dyweyd, Y mae y diwygiad wedi myned heibio er's llawer dydd, ac yr wyf heb gael tro, ac nid oes dim i mi wneyd ond aros nes y daw diwygiad eto. Mi ddymunwn gael tro iawn; ond nid oes help am dani. Dyma y llanw wedi myned heibio, a minau heb gael tro. Yr wyf yn dyfod i'r moddion i aros a disgwyl, pwy ŵyr na ddaw rywbryd; nid oes genyf ond gobeithio y goreu. Nid oes genyf ddim i'w wneyd ond gobeithio y goreu; ond fel hyn y mae. Yr wyf yn disgwyl y goreu.

Wel, fy nghyfaill, y mae genyt rywbeth i'w wneyd. Y mae gan bawb rywbeth i'w wneyd heddyw. Ni raid i chwi ddim oedi, hyd yn nod y dyddiau tawel yma. Ni raid i chwi aros nes y daw diwygiad. Y mae genych rywbeth i'w wneyd gyda mater enaid yn ddioed. Gweithiwch allan. Y mae yn dyweyd wrth bawb. Gweithiwch allan. Wel, rhaid i Dduw roddi y tro. Rhaid; Duw biau achub. Yr ydym yn cael y ddau wirionedd ar gyfer eu gilydd. Ni fedraf fi newid fy nghalon. Na fedri; ni fedri di ddim. Yr ydym yn cymeryd gwirioneddau y Beibl fel y maent. "Ni ddichon neb ddyfod ataf fi, oddieithr i'r Tad, yr hwn a'm hanfonodd, ei dynu ef." Nis gallwch ddyfod ato. Nid

oes dim i'w wneyd felly ond aros nes i Dduw weled yn dda? Na; y mae genych rywbeth i wneyd yn awr.

Ac ni enwn ryw bethau ag y gall pawb eu gwneyd, pe baech yn sicr eich bod heb eich achub.

1. Darllen y Beibl, chwilio yr Ysgrythyrau. Dyma gyngor Iesu Grist i'r Iuddewon. Chwiliwch yr Ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol. Y mae bywyd i'w gael trwy chwilio yr Ysgrythyrau. Nid pob math o ddarllen y Beibl, ond ei ddarllen gan chwilio, chwilio iddo, treiddio i mewn i feddwl Duw yn ei Air; chwilio am y bywyd sydd ynddo. Y mae bywyd yn y Beibl. Y mae efe yma; a chwiliwch chwi am dano, chwi cewch ef; dim ond chwilio, yn y dyddiau yma, dyddiau marw, nad oes un diwygiad ynddynt. Ond y mae yr hen Feibl yr un peth eto. Chwiliwch chwi am grefydd iawn, chwi a'i cewch hi. Chwiliwch am dani fel am drysorau cuddiedig. Byddwch gymaint o ddifrif gyda mater enaid ag ydyw pobl y byd hwn gyda mater y corph. Chwiliwch; chwi cewch o yn y man. Y mae Duw wedi dyweyd y gellwch ei gael; ac nid yw yn meddwl galw hyny yn ol. A fyddwch yn darllen y Beibl fel rhai am gael bywyd ynddo, disgwyl cael bendith drwyddo? Os nad ydych wedi gwneyd felly, a wnewch chwi ddechreu heddyw, gyfeillion? Dyna ddybon y cwbl—eich cael ato.

2. Dyna beth arall y gellwch ei wneyd cyn cael tro, ydyw meddwl am y pethau yr ydych yn eu darllen ac yn eu gwrando. Nid wyf yn eich anog i wrando; yr wyf yn deall eich bod i gyd yn gwrando; ond darllen, heblaw gwrando, a meddwl yn ystyriol. Yn y fan yma y mae diffyg mawr llawer o wrandawyr caredig. Y maent yn dyfod i'r moddion yn bur gyson; ond nid oes yna ddim ystyried. "A hwy yn ddiystyr ganddynt, a aethant ymaith, un i'w taes, ac arall i'w fasnach." Yn ddiystyr!

Y mae yn dyweyd, "A neb heb ystyried." A fyddwch chwi yn myfyrio ar y pethau hyn, yn rhoddi i eiriau y Beibl eich myfyrdodau. Wel, dyna beth y gall pawb ohonoch ei wneyd. A fedrwch fyfyrio? Nid oes eisieu i chwi aros nes y daw y tro i fyfyrio ar bethau y Beibl. Y mae yn anhawdd, y mae yn wir. Y mae yn anhawdd iawn myfyrio ar rywbeth ysbrydol; ond y mae yn beth y gellwch ei wneyd heb un gras. Ac yr wyf yn bur sicr, pe bai yma ryw un yn myfyrio ar bethau crefydd, er ei fod yn ddyn annuwiol, y cai fendith drwy hyny. Dim ond adnod fechan i'w chymeryd yn destyn myfyrdod, y mae bendith ynddi. Try yn fendith i'ch eneidiau.

Wel, Duw biau achub. Wel, ïe; yr ydym yn dal hyny o hyd. Duw biau y tro mawr. Ond y mae yn disgwyl i ninau arfer y moddion; a son am y pethau hyny yr ydym ninau—Darllen y Beibl am ein bywyd.

3. Peth arall y gellwch i gyd ei wneyd heddyw cyn cael tro, yw gweddio. Dyna ein dyben yn dyfod atoch yn y fan lle yr ydych yn awr. Yr ydych yn cwyno oherwydd eich bod heb gael tro. A ydych yn disgwyl tro, os ydych heb ei gael? Wel, a fyddwch chwi yn gweddio am y tro yma? A fyddwch chwi o ddifrif yn gofyn am i Dduw eich achub, ac yn parhau i ofyn? Parhau i ofyn? Nid gwneyd rhyw ffurf a seremoni, mewn rhyw *impulse*, oddiar deimlad y foment, ond para yn daer i ofyn am iachawdwriaeth eich eneidiau? Yr ydym yn dyfod atoch chwi, fy nghyfeillion, sydd yn dyweyd na fedrwch newid y galon. Na fedrwch; ond medrwch ofyn i Dduw. Rhaid cael yr Ysbryd Glân i droi yr enaid, medd y dyn. Rhaid; nid oes dim dadl am hyny. Ond gofynwch am yr Ysbryd Glân, a chwi a'i cewch ef. Wel, ni fedrwn ni ddim gweddio yn iawn nes cael y tro. Beth dal i ni weddio, a ninau yn annuwiol? Ni fedrwn ni ddim gweddio yn iawn. Na fedrwch, gyfeill-

ion anwyl. Ac ni fedr neb ohonom; pe bai yn troi ar hyny, buasai yn anobeithiol ar bawb yn yr oedfa yma. Nid oes yma neb yn gweddio, nad yw yn gweddio geiriau yn llawn o angrhediniaeth ac anmherffeithrwydd. Nid oes genym ond gweddio fel y medrwn. A wnewch chwi dreio, fy nghyfeillion? Ac os gwnewch, y mae Iesu Grist wedi dyweyd yn amlwg iawn, dim ond i chwi ofyn, y rhoddir i chwi. Mi a ddarllenaf ei eiriau i chwi; ei eiriau ef ei hunan: "Gofynwch, a rhoddir i chwi; ceisiwch, a chwi a gewch; curwch, ac fe agorir i chwi." Curwch; os na fedrwch siarad, curwch, ac fe agorir i chwi. A glywch chwi fel y mae yr Arglwydd Iesu Grist, yr Athraw, yn dyweyd wrthych am wneyd? "Canys pob un sydd yn gofyn sydd yn derbyn; a'r neb sydd yn ceisio, sydd yn cael." Nid yw felly gyda phethau y ddaear yma. Nid yw pawb sydd yn ceisio pethau y byd hwn yn eu cael. "Ac i'r hwn sydd yn curo yr agorir." Ond yn y fan yna y mae rhai ohonoch yn awr. Y mae arnaf ofn twyllo fy hunan—dyna sydd ar fy ffordd i. Byddaf yn meddwl am y grefydd yma yn aml iawn; ond y mae arnaf ofn twyllo fy hun. Y mae cymaint o ragrith ynddi; y mae arnaf ofn rhagrith, ofn cymeryd crefydd heb gael tro iawn.

Wel, dyma eiriau yn union ar y mater, yr adnod nesaf. "Neu a oes un dyn ohonoch, yr hwn os gofyn ei fab iddo fara, a rydd iddo gareg?" Gofynwch chwithau am grefydd iawn, a chrefydd iawn a gewch chwi. Ni ddyry Duw gareg i neb yn lle bara. Y mae arnoch ofn twyllo eich hunain, a chael rhagrith yn lle gwir. Wel, gofynwch am y gwir, a chwi a'i cewch ef. "Os chwychwi, gan hyny, a chwi yn ddrwg, a fedrwch roddi rhoddion da i'ch plant, pa faint mwy y rhydd eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd, yr Yspryd Glân i'r neb a ofyno ganddo? Yr Ysbryd Glân. Chwi wnaech bob peth, ond cael hyn, yr Ysbryd Glân. Yr

ydych yn cwyno na fedrwch newid y galon. Wel, chwi gewch yr Ysbryd Glân, fe wna efe yn union. Mae arnoch ofn twyllo eich hunain. Gofynwch am yr Ysbryd Glân, a chwi a'i cewch ef. Fe fedr ef greu calon newydd, a rhoddi ysbryd uniawn o'ch mewn.

*II. Gwaith Duw yn sylfaen i waith y dyn yn ei dröedigaeth.*

Neu fel y mae yn fwy priodol, ac unol â threfn y geiriau, Gwaith Duw yn galw am waith dyn yn ei droedigaeth. A oes gan ddyn rywbeth i'w wneyd yn ei droedigaeth? Wel, mi feddyliwn i fod. Er mai Duw sydd yn gwneyd y cwbl, er mai Duw yw yr hwn sydd yn gweithio ynoch. Ond nid ewch i'r nefoedd, fy mhobl, mewn cwsg a diogi, heb weithio. Mae yn rhaid i chwi wneyd rhywbeth. Nid y gwnewch ddim heb Dduw, mae'n wir. Ond nid Duw sydd yn credu. Dyn raid gredu. Ni chredi ddim heb ras Duw; y mae hyny yn ddigon amlwg.

Wel, peidiwch a disgwyl i Dduw gredu drosoch. A dyna y peth y dymunwn ei wasgu atoch. Ni raid i neb aros am gymhwysder i gredu. Dyna drefn gras. Trefn gras fel yna. Y mae trefn gras yn eich ffitio yn well nag un drefn arall. Pe buasai o weithredoedd, buasai genych lawer iawn o bethau i gymhwyso eich hunain ynddynt, a phethau i'w gwneyd. Ond gan ei bod o ras, trwy ffydd, gellwch gredu fel yr ydych, heb ddim ynoch eich hunain, i anghymwyso yr annuwiol.

Ni wn i ddim a ydym yn deall y pwnc hwn i gyd ai peidio. Yr oeddwn yn cymeryd yn ganiataol fod pawb yn ei ddeall, oherwydd yr oeddwn yn bur sicr mai dyma athrawiaeth y Methodistiaid bob amser. Ond byddaf yn meddwl fod rhywbeth cyn credu, medd y dyn. Rhaid iddo ef aros i gael ei ail-eni yn gyntaf cyn credu. Cael y tro yn gyntaf. Na; nid dyna drefn y Beibl. Credu. Dyma y peth

cyntaf mewn tröedigaeth. Nid wyf yn meddwl fod llawer o amser rhyngddynt. Ond eto, mewn trefn, y peth cyntaf mewn achubiaeth pechadur ydyw y pwnc o gredu. Dyna sydd yn gwahaniaethu trefn gras oddiwrth bob trefn arall, mai trwy gredu y mae achub. Y mae hi o ras. Wel, beth sydd yn profi hyny? Am ei bod trwy ffydd. Paham y mae y ffaith mai trwy ffydd y mae hi yn profi ei bod o ras, mwy na rhywbeth arall? Wel, dyna ydyw ffydd, pechadur heb ddim yn rhoddi ei hunan i Iesu Grist. Fe ddaw yr ail-eni o hynyna. O'r Arglwydd Iesu y mae yr ail-eni. Y mae pob bendith ysbrydol yn dyfod o Iesu Grist. Dyna drefn y Beibl. Y mae yr ail-eni yn golchi, yn sancteiddio, yn newid y galon. Y mae y cwbl yn dyfod o Iesu Grist. Ac y mae undeb â Iesu Grist yn dyfod trwy gredu. Dyna drefn y Beibl—cyfiawnhau yr annuwiol. Dysgwn gymeryd geiriau y Beibl fel y maent—cyfiawnhau yr annuwiol. Nid cyfiawnhau dyn wedi ei ail-eni ydyw y drefn, ond pan y mae yn annuwiol. Nid yw yn annuwiol y foment y mae yn credu; ond y mae yn annuwiol hyd y foment yna. Cyfiawnhau yr annuwiol.

Dyma drefn sydd yn dyfod i'ch ymyl. Y mae yn addas i bawb. Nid oes genych un esgus. Pa le y mae eich esgusodion, gyfeillion? Ni fedraf newid fy nghalon. Na fedri. Ond dyma drefn i gyfiawnhau yr annuwiol. Ni fedraf gredu. Na fedri. Ond nid oes eisieu nerth i gredu, fel y dywedais lawer gwaith. Ond gormod o nerth sydd genyt. Ni chredi di byth cyn lladd y nerth yna. Pe bait yn dyfod heb ddim! Marw ydyw credu. Dyna gydmariaeth Paul—marw gyda Christ. Nid oes eisieu nerth i farw. Methu ydyw marw. Ni bydd marw heb i Dduw beri hyny, y mae yn wir. Wel, felly ni chred neb heb i Dduw beri. Eto, nid diffyg nerth ydyw yr achos na bait yn credu. Ond methu ydyw credu. Methu gwneyd dim;

methu ar bob tir. Methu anadlu. Darfod ynot dy hunan, ac ymollwng yn farw. Dyna ydyw credu.

Felly y mae Iesu Grist ei hunan yn esbonio y drefn pan y daeth Nicodemus ato i ymgynghori pa fodd y dichon y pethau hyn fod. Ar ol rhoddi pwnc mawr yr ail-eni o'i flaen, a dangos fod yn rhaid cael rhywbeth goruwchnaturiol, y mae Nicodemus yn gofyn iddo pa fodd y daw. Wel, fel hyn, medd Iesu Grist, "Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffaethwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael ohono fywyd tragwyddol." Oddiyno y daw y tro. Y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn, fel na choller pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael ohono fywyd tragwyddol. Dyna yr ail-eni yn y bywyd yna. Nid bywyd y nefoedd feddylir. Nage ; bywyd yr ail-eni. Y mae yn dragwyddol ei barhad, os cei di ef. Fe gyrhaedda i'r nefoedd ; fe gyrhaedda i dragwyddoldeb. Ond y mae i ddechreu yma. Pa bryd ? Y mae yn dechreu y foment y cred y pechadur yn Iesu Grist.

Wel, sut y caf dro iawn ? Dim ond edrych i Galfaria. Edrych, pe bait yn marw. Wrth farw, edrych i'r groes. Bydd farw a dy olwg ar angeu yr Arglwydd Iesu. Ac yn yr olwg arno ef yn marw, ti ddeui yn fyw trwy ei angeu ef. "Caffael ohonynt fywyd tragwyddol," "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." Beth os ydyw heb ei ail-eni, Paul ? O, nid oes angen am hyny. Cred. Credu wnaeth y pen *jailer* oedd yn fflangellu y mynudau cyn hyny. Gallai nad oedd tro iawn arno ; ond credodd. Buasai rhai ohonom yn dyweyd wrtho am aros nes y deuai y tro, ac i'r Ysbryd Glân ddyfod o'r nefoedd i'w ail-eni. Na ; y mae Paul wedi galw hen bechadur i gredu yn Iesu Grist. Wel, y mae yn eich galw chwithau. Geilw bawb ohonoch ; y dynion sydd heb gael tro, y mae yn eich galw yn awr i

gredu yn Iesu Grist. Y mae arnaf eisieu cael tro yn gyntaf. Y credu sydd yn gyntaf. Fe ddaw y tro. Cred fel yr wyt. Ti gredi heb galon newydd. Cred, pe bait yn methu gwneyd dim, yn methu symud. Ymollwng ar haeddiant yr Arglwydd Iesu Grist. Cred fel yr wyt ti.

Wel, fy nghyfeillion, dyma y drefn. Y mae yn eich ffitio, a chwithau yn ffitio y drefn. O! na fedrem eich cael at eich gilydd. A wnewch chwi dreio credu? Wel, Duw a raid wneyd peth fel yna. Ie; efe sydd yn cynal bywyd yn eich gwaed chwi, ac yn eich nerthu i godi a cherdded ar hyd y ddaear. Ond nid ydych yn myned i ymholi, a ydyw o ryw ddyben i chwi gerdded, a chodi, heb wybod a ydyw Duw yn eich helpu.

Gwnewch felly gyda phethau crefydd. Y mae wedi addaw; y mae pob peth wrth law. Cred fel yr wyt, yn annuwiol. Yn annuwiol! Pe bait ti yn sicr dy fod yn annuwiol yn awr, y mae sail i ti gredu fel yna. Ac fel yna y rhaid credu. Fel yna y mae pawb yn credu. Ac ni chei di ddim derbyniad gan Iesu Grist un ffordd arall. Nid yw yn galw y rhai cyfiawn; a phe bait yn cynyg dy hunan yn ddyn cyfiawn, ni chait dderbyniad. Pe bai rhyw un yn dyfod at Iesu Grist, ac yn dyweyd, Wel dyma fi yn dyfod yn awr wedi fy ail-eni, yn ddyn da yn awr; ac yr wyf yn dyfod atat am dderbyniad. Wel, ni chait dy dderbyn; fe'th wrthodid y pryd hwnw. Rhaid i chwi anghofio y cwbl a dysgu dyfod yn bechaduriaid at Fab Duw. Dyna ydyw credu—rhoddi dy hunan, yn annuwiol. Nid oes dim a fynoch â'r pwnc a ydych wedi eich ail-eni ai peidio. Nid oes eisieu i chwi dreulio mynyd gyda'r cwestiwn. Pe baech heb eich ail-eni, rhaid i chwi ddyfod at Iesu Grist yn bechaduriaid. A phe wedi eich ail-eni, rhaid i chwi ddyfod at Iesu Grist yn bechaduriaid yr un fath a'r tro cyntaf.

*III. Gwaith Duw yn galw am i ninau weithio ar ol ein tröedigaeth.*

Y mae arnaf braidd ofn i rai fethu yn y fan yma. Y mae yma lawer o honoch chwi gyda'r grefydd yma. Dyma y perygl eich bod yn cymeryd yn ganiataol gyda hyn yna. Hwyrach eich bod wedi eich derbyn at fwrdd yr Arglwydd. Y mae perygl i chwi gymeryd yn ganiataol fod pob peth yn dda. Nid oes dim i wneyd ond treio myned i'r moddion nes y daw yr amser i chwi fyned i'r nefoedd. Y mae pob peth yn dda. Na; y mae rhyw waith eto. Rhaid cloddio hyd y diwedd, cloddio a myned yn ddwfn. Y mae eisieu bod gyda'r mater mawr o hyd. Y mae eisieu chwilio rhag ein bod yn twyllo ein hunain. Y mae eisieu dechreu o'r newydd bob dydd fel y dywedwyd. 'Y mae eisieu cloddio am y graig. Pe bait yn hen grefyddwr deugain mlynedd, wedi rhoddi dy hunan lawer canwaith i Iesu Grist, y mae eisieu cloddio bob dydd, yn moddion gras, yn y weddi ddirgel, a myfyrdodau ; myned yn ddyfnach, ddyfnach, ddyfnach o hyd i adeiladu ar y graig ; ac y mae eisieu gweithio mewn defnyddioldeb, ac mewn cynydd crefyddol.

Mynwch grefydd a chynydd yn perthyn iddi hi, fy nghyfeillion. Yr oedd Paul gyda'r peth yn wastadol. Darllenaf ychydig o'i brofiad ef i chwi. Fel hyn yr oedd yr Apostol yn teimlo: "Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd eisoes, neu fod eisoes wedi fy mherffeithio; eithr dilyn yr wyf, fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu." "Fel yr adnabyddwyf ef." Dyma ei brofiad ef; dyma ei grefydd ef, "a grym ei adgyfodiad ef, a chymdeithas ei ddyoddefiadau ef, gan fod wedi fy nghydffurfio â'i farwolaeth ef. Os mewn un modd y gallwn gyrhaeddyd adgyfodiad y meirw." Y mae crefydd iawn yn ymgyrhaedd am berffeithrwydd. "Nid fel pe bawn wedi ei gyrhaeddyd

eisoes, neu fod eisoes wedi fy mherffeithio. Eithr dilyn yr wyf;" dilyn yr wyf. O dyma grefydd iawn! Yr ydych yn son am grefydd dda yn aml. Dyma hi, Crefydd y dilyn. "Fel y gallwyf ymaflyd yn y peth hwn hefyd yr ymaflwyd ynof gan Grist Iesu." "Y brodyr, nid wyf fi yn cyfrif ddarfod i mi gael gafael." Ond un peth sydd genyf. Y mae fy nghrefydd i, i gyd yn gynwysedig mewn un peth. A dyma fe, "Ond un peth, gan anghofio y pethau sydd o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau sydd o'r tu blaen, yr ydwyf yn cyrchu at y nôd, am gamp uchel alwedigaeth Duw yn Nghrist Iesu."

A ydym yn llafurio yma yn ein crefydd ninau? Yn llafurio yn wastadol? Yn ymestyn at y pethau sydd o'r tu blaen? A ydych yn peidio gorphwys ar rywbeth a gyrhaeddasoch? A ydych yn peidio myned i feddwl eich bod wedi ymgyfoethogi, ac nad oes arnoch eisieu dim? A ydych chwi yn ymestyn o hyd at y pethau sydd o'r tu blaen? A oes yna ryw lafur yn ymestyn at berffeithrwydd? Rhyw deimlo eich bod heb ei gael eto. Bydded hyn yn ein crefydd, rhyw ymestyn ymlaen. Os cawn rhyw dir newydd yn yr oedfa ar y Sabbath, ymlaen wedi hyny. Os cawn rywbeth yn y weddi ddirgel, peidiwn aros yn y fan hono, ond ymlaen wedi hyny. Os cawn gymdeithas â'r Arglwydd Iesu wrth fwrdd y cymun, peidio myned i bwyso ar hyny, a diogi ar hyny; ond ymlaen o hyd, ymestyn, pe bai bosibl, hyd at adgyfodiad y meirw.

Wel, pwyswn ar ras Duw yn y cwbl. Gras i weithio ydyw gras Duw. Nid gras i'ch cadw yn segur; ond gras i'ch gwneyd i weithio, i'ch gwneyd o ddefnydd i buro, i sancteiddio; gras i'n cadw mewn llafur gwastadol gyda gwaith yr Arglwydd Iesu. Rhodded ei fendith ar hyn, er mwyn ei enw, Amen.

## PREGETH III.

PHIL. ii. 7: "Eithr Efe a'i dibrisiodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas, ac a wnaed mewn cyffelybiaeth dynion."

UN o'r pethau sydd yn hynodi Paul yw undod yr athrawiaethol a'r ymarferol. Trinia bob athrawiaeth yn ymarferol. Y mae yn anog y Philippiaid i fywyd ymarferol, ac y mae yn cysylltu hyny â'r athrawiaeth am Berson yr Arglwydd Iesu a'i ymostyngiad a'i angau. Pan y mae yn anog y Corinthiaid i'r ddyledswydd o gyfranu, y mae yn seilio hyny ar waith Crist: "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef ac yntau yn gyfoethog, ddyfod er eich mwyn chwi yn dlawd," &c.

Felly yn y fan yma. Y ddyledswydd yma ydyw yr un o hunanymwadiad a gostyngeiddrwydd. Yr achlysur oedd ei fod yn gweled fod yno ryw gymaint o berygl, oddiwrth gamddealltwriaeth neu rywbeth arall, er mai eglwys Philippi oedd yr eglwys buraf o'r holl eglwysi. "Na wneler dim trwy gynen neu wag-ogoniant, eithr mewn gostyngeiddrwydd, gan dybied eich gilydd yn well na chwi eich hunain." Yr oeddynt i fod yn ostyngedig yn eu hymddygiadau y naill tuagat y llall. Ond nid dangos gostyngeiddrwydd oeddynt i'w wneyd, ond bod yn ostyngedig. Nid yn unig rhaid iddynt beidio ei ddangos heb ei deimlo, ond rhaid iddynt ei deimlo; a'r ffordd i'w deimlo yw fod y meddwl yr un a'r eiddo Crist. "Canys bydded ynoch y meddwl yma, yr hwn oedd hefyd yn Nghrist Iesu." Rhaid cael y meddwl i'w le, a'r ffordd i hyny yw meddwl llawer am Grist, a chyfranogi o'r meddwl oedd ynddo Ef: "Yr hwn hefyd oedd yn Nghrist Iesu." Pan y mae yn gosod yr Arglwydd

Iesu ger ein bron yn ei ostyngeiddrwydd, y mae yn gwneyd hyny fel esiampl. Y mae perygl i ni anghofio hyny—rhodio megys y rhodiodd Efe. Ond yr hyn sydd yn rhoddi grym iddo yw dau beth: Yn 1af, Mawredd Crist; yn 2il, Dyfnder ei ddarostyngiad. Os gwadwch y naill neu y llall, yr ydych yn dinystrio grym y cyfan.

Y mae llawer sydd yn son am Grist fel esiampl yn gwadu Duwdod Crist; ac y maent felly yn gwneyd i ffordd a'r esiampl. Ac i ninau fyned i ddangos hyn—ei agor o flaen y meddwl—Y fath Berson, yr hwn ac efe yn ffurf Duw, mor fawr a Duw. Y mae gwahaniaeth barn am ystyr y gair, fel y gwyddoch. Golygir wrth "ffurf" mai y gogoniant oedd ganddo gyda'r Tad cyn bod y byd, ac mai hwn y darfu iddo ei roddi heibio, ac mai hwn y gofynai am dano yn ol yn yr xvii. o Ioan. Ond yr oedd yr Hen Dadau fel arall, a dywedir fod Esgob Lightfoot yn eu dilyn. Golygent hwy fod "ffurf" yma yn golygu hanfod Duw. Yr un gair gyfieithir "agwedd" yn yr adnod nesaf. Agwedd gwas, gwas mewn gwirionedd, nid ymddangosiad. Felly wrth ffurf Duw y meddylir Duw mewn gwirionedd. Yr oedd yn hanfod Duw. "Yr hwn ac efe yn ffurf Duw ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch a Duw." Y mae amheuaeth yn y fan yma pa un a ydyw Paul yn meddwl yr un peth ag o'r blaen. Mi feddyliwn nad oedd. Y mae y rhan olaf o'r adnod yn cyfeirio at ei ddarostyngiad. Am ei fod yn Dduw ei hunan, ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw. Nid aeth i ddadleu ei hawliau. Yr oedd ganddo hawl; ond nid aeth i sefyll ar ei hawl i fod yn ogyfuwch â Duw. *Eithr*—dyma'r cyferbyniad—yn lle dadleu ei hawliau, "Efe a'i dibrisiodd ei hunan." Y mae y cyfieithwyr yn y fan hyn yn darllen y gair yn "gwaghaodd." Ac felly y mae y cyfieithiad newydd Seisonig yn darllen: "*He emptied himself.*" Y mae yn debyg fod yr hen gyf-

ieithwyr yn ofni rhoddi gair mor gryf a "gwaghaodd." Ond dyna y meddwl ddewisodd yr Ysbryd Glân. Ac felly ninau. Dyna air yr Ysgrythyrau. "Efe a'i gwaghaodd ei hunan." Nid wyf yn proffesu medru dyweyd ystyr y geiriau yma. Carwn addoli a rhyfeddu uwchben y geiriau—Mab Duw yn gwaghau ei hunan!

Wel, pa sud y mae i ni ddeall ei fod wedi gwaghau ei hunan? A beidiodd Efe a bod yn Dduw? Naddo yn ddiameu. Y ffordd y byddai yr Hen Ddiwygwyr Protestanaidd yn esponio hyn oedd—iddo guddio ei fawredd, cuddio ei Dduwdod, fel y bydd yr haul yn myned o'r golwg wrth fyned y tu cefn i'r cwmwl. Y mae hyna yn olygiad da cyn belled ag y mae yn myned. Ond nid cuddio yw gwaghau. Y mae yma rywbeth arall. Nid dyna ddywedodd yr Ysbryd Glân; ond fe'i gwaghaodd ei hun. Y mae duwinyddion yn gyffredin y dyddiau yma ar y Cyfandir yna, er mwyn gwneyd cyfiawnder âg ystyr y gair, yn casglu fod y Person dwyfol wedi rhoddi heibio ei briodoliaethau. Ni roes heibio ei hanfod, ond yr oedd yn Dduw fel o'r blaen. Ond y maent hwy yn meddwl fod y gair yn dysgu iddo roddi heibio y priodoliaethau dwyfol. Y mae y dybiaeth yna wedi myned yn gyffredin iawn, yn enwedig yn Lloegr.

Wel, fy nghyfeillion, byddai yn dda i chwi gredu fod yn amhosibl i Berson dwyfol roddi heibio ei briodoliaethau; y mae yn amhosibl iddo beidio bod yn hollwybodol a hollbresenol. Ond gadewch i ni fyned yn ol at y testyn. Pa sud y mae i ni ddeall fod Mab Duw wedi gwaghau ei hunan? Dyna air Beiblaidd; dyna air yr Ysbryd Glân. Wel, ni awn heibio y duwinyddion, ac ni edrychwn pa sud y mae Paul ei hun yn dweyd. Gadewch i ni gymeryd geiriau yr Ysbryd Glân yn syml fel y maent. Fel hyn y dywed Paul, "Eithr efe a'i gwaghaodd ei hun, gan gymeryd arno agwedd gwas."

Dyna y gwaghad. A ydych chwi yn gweled? Y mae y Gymraeg yn well na'r Saesoneg. *And* medd y Saesoneg: "And took upon him the form of a servant." Ond nid oes yma ond un weithred. Fe'i gwaghaodd ei hun *gan* gymeryd arno agwedd gwas; trwy gymeryd agwedd gwas. Hyny ydyw, os dilynwn eiriau Paul, fe'i gwaghaodd ei hunan trwy roddi ei hunan, a'r holl briodoliaethau dwyfol oedd yn perthyn iddo mewn gwasanaeth. Fe'i taflodd ei hunan i wasanaeth. Nid rhoddi heibio ei allu, ond rhoddi ei allu i wasanaethu. Nid rhoddi heibio ei hollwybodaeth a'i dragywyddoldeb, ond fe daflodd y cwbl i'r gwaith. Fel y bydd gwas da yn gwneyd, fe daflodd ei holl nerth i'r gwaith. Dyna, feddyliwn, yw geiriau Paul. Y Person anfeidrol! O! yr wyf yn crynu rhag dweyd dim yn anheilwng am dano; yr Hollalluog, fe daflodd ei holl allu i wneyd gwasanaeth—i wneyd gwaith yr Iawn! Y Person tragwyddol, fe roes ei dragwyddoldeb yn y gwaith o ufudd-dod i'w Dad! "Gan gymeryd arno agwedd gwas." Natur gwas, yn hollol ac yn drwyadl. Y mae "gwas" yn arwyddo *slave* yma, y gwas iselaf o bob un yn nghreadigaeth y Duw mawr. Dyma y mwyaf wedi myned i'r isaf; ac eto, ni pheidiodd ddim a bod yn Dduw. Gwnaed Ef yr hyn nad oedd; ond ni pheidiodd a bod yr hyn ydoedd.

Ar hyn yr oeddwn yn meddwl aros ychydig.

I. *Ei Dragwyddoldeb Ef.* Fe roes dragwyddoldeb mewn ufudd-dod. Ni buasai ufudd-dod holl greaduriaid Duw byth yn ufudd-dod tragwyddol. Ni fuasai hyny ddim yn llanw gofynion y ddeddf; na holl greaduriaid Duw yn y nefoedd. Pe byddent yn ufuddhau oesoedd ac oesoedd ar ol oesoedd, fe fyddai tragwyddoldeb o'u blaen wedi hyny. Pe byddent yn ufuddhau wedi hyny am oesoedd ac oesoedd, fe fyddai tragwyddoldeb o'u blaen wedi hyny. Gadewch

iddynt fyned yn mlaen eto am oesoedd rifedi y tywod, a rhoddi ufudd-dod difwlch. Wel, dyna ufudd-dod tragwyddol? Na: y mae tragwyddoldeb o'u blaen eto. Anmhosibl i greaduriaid wneyd hyn byth. Byddwn ni yn nhragwyddoldeb yn fuan iawn, fy mhobl; byddwn yno yn yr *ocean* ddiderfyn; ond ni byddwn yn ei llenwi. Ond, nid oedd y Mab ddim yn nhragwyddoldeb. Beth, ynte? Tragwyddoldeb oedd yn bod ynddo Ef! Ydwyf! "Ydwyf yr hwn ydwyf." Y mae yn ddiddadl mai Efe oedd yn llefaru wrth Moses. Ac felly y mae yn dweyd, Ydwyf, Ydwyf o dragwyddoldeb i dragwyddoldeb yn mhob man. Felly yr oedd ufudd-dod Mab Duw yn ein natur ni yn llenwi tragwyddoldeb. Yr oedd Tragwyddoldeb yn bod yn y dyn Crist Iesu pan oedd ar y ddaear, a'r Tragwyddoldeb hwnw yn dragwyddoldeb o ufudd-dod. Meddyliwch am ei Hollalluowgrwydd—ni roes ei Hollalluowgrwydd heibio. Ni pheidiodd ddim a bod felly; ond fe'i gwaghaodd ei hun. Fe roes ei Hollalluowgrwydd yn y gwaith a roddwyd iddo gan y Tad; a buasai yn anhawdd iddo gyflawni y gwaith hebddo. Ni buasai modd iddo farw heb fod ei Hollalluowgrwydd dan y baich. "Yr Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." A phwy all ddweyd y pwys oedd ar y Meichiau yn ein hachos ni! Yr oedd yn annyoddefol i'r cryfaf o ddynolryw; ac y mae pob arwydd ei fod yn pwyso yn ofnadwy ar ysgwydd gref y Mab. Nid rhoddi ei Hollalluowgrwydd heibio a ddarfu, ond ei roddi dan y baich. Ac er ei fod ef yn hollalluog, clywn Ef yn gwaeddi, "Os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio oddiwrthyf." Fe fuasai pwysau cymaint ag un pechod yn ddigon i suddo y greadigaeth i Gehenna am dragwyddoldeb. Ond fe aeth Ef dan bwysau eich pechod—yr anwiredd a gasglwyd o bob cŵr er holl oesoedd y byd. Ond fe ddaliodd. Aeth trwy y gwaith. Paham? Am fod ei Hollalluowgrwydd yn y

gwaith. Diolch iddo! fe roes ei Hollalluowgrwydd yn yr ufudd-dod trwy fyned—trwy roddi ei Hollalluowgrwydd dan y gyfraith. Nid oedd un gyfraith yn y nefoedd yn gofyn hwn fel Person dwyfol. Er fod y ddeddf mor uchel, yr oedd hwn yn rhy uchel iddi. Ond aeth yn ei Hollalluowgrwydd: rhoes ei allu i gyd dan gyfraith er mwyn ufuddhau i'r Tad. Ac felly y dywed, "Nid oes neb yn ei dwyn oddiarnaf, ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr ohonof fy hun; y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn." Yr oedd ganddo feddiant ar ei einioes. Ni fuasai neb llai na'r Hollalluog yn meddu meddiant arni. "Ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn." Yr oedd yn Hollalluog yn ei ostyngeiddrwydd, yn ei iselder. Ond cofiwch, sylwch, "Y gorchymyn hwn a dderbyniais i gan fy Nhad." Rhoddai ei einioes i lawr yr un pryd yn wirfoddol o ufudd-dod i'r Tad. Yr oedd ei Hollalluowgrwydd dan gyfraith y Tad; ac am hyny yr oedd ei elynion yn dweyd y gwir am dano, "Ereill a waredodd efe; ei hunan nis gall efe ei waredu." Paham? Yr oedd ei allu dan gyfraith. Gallasai chwalu y cwbl o'i elynion i ddistryw mewn moment. "Efe ei hunan nis gall ei waredu." Yr oedd gorchymyn yn bod, ac yntau wedi ymrwymo i roddi ufudd-dod iddo.

Felly am ei Hollwybodaeth. Yr oedd Efe yn gwybod, nid trwy gofio, ond trwy weled. Yr oedd yn gwybod pethau yn y tragwyddoldeb diddechreu a diddiwedd. Ac yr oedd ei ufudd-dod yn hollbresenol. Pe buasai holl ufudd-dod a gwasanaeth holl greaduriaid Duw yn y byd hwn ac yn y bydoedd dirifedi, ni buasai yna ufudd-dod hollbresenol wedi hyny. Ond dyma ufudd-dod cyn uchled a lletted a deddf Duw ei hunan. Dyna y fath un yw ein Ceidwad ni.

Meddyliwch am ei Gariad a'i Briodoliaethau Moesol, y

rhai sydd yn llenwi y cwbl. Yr oedd ei dragwyddoldeb yn dragwyddoldeb Cariad ; yr oedd ei Hollbresenoldeb yn hollbresenoldeb Cariad, a'i Hollalluowgrwydd yn holl-alluowgrwydd Cariad. Cariad oedd yn llywodraethu y cwbl. Deddf cariad oedd y Ddeddf. Cyfiawnder cariad oedd yn peri i'r Tad ofyn ganddo, a dyma Hollalluowg-rwydd yn rhoddi ei hunan iddo. Deddf yr holl ddyn yw deddf Duw, a dyma un Hollalluog yn rhoddi ei hunan iddi. Ac fe roes ei hunan yn ei Gariad. Ei Gariad oedd yn dwyn ymlaen ei holl Briodoliaethau. Ei Gariad oedd yn dwyn ymlaen ei Dragwyddoldeb, ei Hollbresenoldeb, a'i Hollalluowgrwydd. Ac nid dyna'r cwbl, ond Efe ei hunan, ei Hanfod,—fe roes ei hunan : " Yr hwn trwy ei Ysbryd tragwyddol, a'i hoffrymodd ei hun yn ddifai i Dduw " Nid neb llai ! Efe yw yr Iawn. Efe wnaeth Iawn ? Na : nid yw hyny ddim haner digon. Efe yw yr Iawn ! Dyna beth yn cael ei ddweyd am yr Iawn na ddywedwyd am ddim arall wnaeth y Duwdod. Efe wnaeth yr haul, ond nid Efe yw yr haul, Efe wnaeth y sêr a'r bydoedd i gyd yn ddirifedi ; ond nid Efe ydynt. Buasai yn gabledd dweyd mai Efe yw y greadigaeth. Ond dyma un peth am achubiaeth pechadur —Mab Duw yw Efe ; Efe yw yr Iawn. Pwysa heno, fy nghyd bechadur tlawd, ar haeddiannau yr Iawn a dyna ti yn pwyso ar Fab Duw ei hunan. Nid oes dim modd difodi hwn. Person dwyfol yw Efe. Gellir difodi y greadigaeth ; ond fe fydd Duw yn bod wedi hyny. Ond amhosibl difodi yr Iawn a'r Aberth, oblegid amhosibl difodi y Duwdod. Y mae yma rai yn pwyso ar yr Iawn, ac wrth bwyso ar yr Iawn, dyna Berson anfeidrol Mab Duw rhyngo a dy ddamnio.

Ond da genyf ddweyd un gair eto cyn eich gollwng. Efe a'i gwaghaodd ei hunan. Nid heb ryw ddyben. Fe'i gwaghaodd ei hunan er mwyn llenwi deddf ei Dad. Fe

waghaodd ei hunan, ac ni adawodd ei Dad mohono yntau yn wag byth. Na ; nid yw yn wag heddyw. Fe fu yma wedi gwaghau ei hunan er mwyn rhoddi ei hunan yn y gwaith. Ond y mae y Tad bellach wedi ymrwymo i'w lenwi yntau â boddlonrwydd. Fe wel o lafur ei enaid, ac fe'i diwellir. Fe'i llenwir ryw ddiwrnod. Fe lenwir ei feddwl dwyfol wrth weled ei bobl ar ei ddelw. Pan gyfarfyddom oll, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist. *Unto the measure of the stature of the fulness of Christ.* At fesur maintioli cyflawnder Crist. Dyna fel y mae y Saeson yn cyfieithu ; ac am wn i nad ydynt yn iawn,—y saint wedi cyrhaedd y fath faintioli, yr un mesur a chyflawnder Crist. Pa sud y gall dynion byth ddyfod yr un faint a Mab Duw ? Nid y meddwl yw y byddant wedi eu gwneyd fel y Creawdwr ; ond cyfeirio y mae hyn at waith Duw arnynt, a gwaith Duw ynddynt : Cyfiawnder y Mab a'u Cyfiawnder hwythau, Sancteiddrwydd y Mab a'u Sancteiddrwydd hwythau. O'u rhan eu hunain, ni fydd y saint yn y nefoedd at faint cyflawnder Crist, ond fe fydd Efe yn eu llenwi hwy, a hwythau yn ei lenwi yntau, y Cyfryngwr am byth.

Wel, fy mhobl, yr wyf yn eich gadael trwy ofyn y cwestiwn—Un fel yna oedd Iesu, un yn rhoddi ei hunan—a dyna'r cwestiwn, A ydych chwithau wedi gwneyd rhyw dipyn drosto yma ? Y mae rhai o honoch wedi gwneyd llawer. A ddarfu i chwi roddi eich hunain ? A ddarfu i chwi roddi eich hunan yn y gwasanaeth ? Nid yw yn ddigon gwneyd gwasanaeth i Fab Duw. "Fy mab, moes i mi dy galon." Rhaid iddo gael dy galon, dy gorph a'r enaid yn gyfan gwbl iddo ei hunan. Rhaid iddo eich cael yn aberthau byw sanctaidd a chymeradwy. Yr wyf yn gofyn eto, A ddarfu i chwi roddi eich hunain ? O fe fydd yn ofnadwy wedi i chwi wasanaethu gyda'i waith Ef,

a chyda'i achos, os byddwch chwi eich hunain yn ol yn y diwedd. Ond nid yw yn rhy ddiweddar heno. Mentrwch arno ; rhoddwch eich hunain fel yr ydych chwi, yn bechaduriaid tlodion, heb ddim ond pechod. Rhoddwch eich hunain iddo. Y mae yn dweyd, Yr hwn a ddel ataf, 'nis bwriaf ef allan ddim. Y mae genyf un cwestiwn eto, A roddwch chwi eich hunain iddo heno ? A wnewch chwi roddi eich hunain iddo heno ? Nid oes eisiau i chwi wella, ond rhoddi eich hunain fel yr ydych. Y mae yn addaw eich llenwi a gras, a'ch cymhwyso i ogoniant. O bydded fod y Cyfarfod hwn yn dwyn llawer i roddi eu hunain i'r Gwaredwr. Ei fendith fyddo arnoch yn Nghrist, Amen.

## PREGETH IV.

SALM i. 3: "Ac efe a fydd fel pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa; a pha beth bynag a wnel, efe a lwydda."

Y MAE hyn yn un peth sydd yn ymddangos yn rhyfedd yn nysgeidiaeth yr Arglwydd Iesu: fel y gwelwch yn y bregeth ar y mynydd, ei fod yn rhoddi cymaint o bwys ar fod dynion yn gweled ein gweithredoedd da ni; ac mewn man arall, ei fod yn rhoddi cymaint o bwys ar i ni beidio gwneyd dim er mwyn cael ein gweled gan ddynion. Y mae mewn un man yn dangos hyn fel un o'r pethau mwyaf pwysig mewn erefydd—fod dynion yn gweled ein gweithredoedd da ni: "Chwi yw goleuni y byd; dinas a osodir ar fryn, ni ellir ei chuddio. Ac ni oleuant ganwyll a'i dodi dan lestr, ond mewn canwyllbren, a hi a oleua i bawb sydd yn y ty. Llewyrched felly eich goleuni gerbron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd." Nid oes dim crefydd iawn os na bydd yn weledig i ddynion. Drachefn, y mae yn dyweyd, "Gochelwch rhag gwneuthur eich elusen yn ngŵydd dynion, er mwyn cael eich gweled ganddynt; os amgen, ni chewch dâl gan eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd. Am hyny, pan wnelych elusen, na udgana o'th flaen, fel y gwna y rhagrithwyr yn y synagogau, ac ar yr heolydd, fel y molianer hwy gan ddynion. Yn wir, meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr. Eithr pan wnelych di elusen, na wyped dy law aswy pa beth a wna dy law ddehau." Dyna un o brif

ddyledswyddau crefydd, ydyw elusengarwch; ac eto, gorchymynir i ni beidio gwneyd hyny i'n gweled gan ddynion. Un arall o brif ddyledswyddau crefydd yw gweddio. "A phan weddïoch, na fydd fel y rhagrithwyr; canys hwy a garant weddïo yn sefyll yn y synagogau, ac yn nghonglau yr heolydd, fel yr ymddangosont i ddynion. Yn wir, meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr. Ond tydi, pan weddïech, dos i'th ystafell; ac wedi cau dy ddrws, gweddïa ar dy Dad, yr hwn sydd yn y dirgel; a'th Dad, yr hwn a wêl yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg." Nid ydym i weddïo er mwyn cael ein gweled gan ddynion: yr ydym i ofalu rhag hyny.

Dyna athrawiaeth Iesu Grist. Y mae yna rhyw ymddangosiad o anghysondeb allanol. Ond nid yw ond ymddangosiad: y mae yma wir gysondeb, er hyny, yn y cwbl. Dyna fel y mae pob gwirionedd mawr: y mae yn ymddangos yn anghyson i ddynion arwynebol, y rhai na fedrant gymeryd y cwbl i mewn. Nid ydym i gymeryd y naill wirionedd heb y llall. A'r addysg oddiwrth y cwbl ydyw, fod dwy ran hanfodol mewn gwir grefydd, sef yr Anweledig, a'r Gweledig. Nid yw pob crefydd weledig ddim yn gywir; a rhagrith ydyw, os na bydd yno grefydd anweledig. A pha le bynag y bydd yno grefydd anweledig, y mae hon yn sicr o weithio ei hunan i'r goleu, i fod yn weledig gan ddynion.

Y mae y ddau fater yna yn yr adnod a ddarllenwyd. Dyna paham y cymerais i hi, er mwyn galw eich sylw at y ddau beth hyn mewn cysylltiad a'u gilydd yn yr un adnod.

Y mater ydyw, Crefydd, Crefydd dda, Crefydd gyflawn. Ond dangosir hi yn yr adnod hon yn y ddwy wedd yma:—

*I. Yn Anweledig.* *II. Yn Weledig.*

*1. Crefydd Anweledig.*

"Efe a fydd fel pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd, yr hwn a rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa; a pha beth bynag a wnel, efe a lwydda."

Dyna y gwahaniaeth rhwng byw a marw; rhwng pren byw a phren wedi ei dori. Y mae i'r pren byw wreiddiau anweledig. Y mae yn estyn ei wraidd i'r afonydd dyfroedd, ac yn derbyn rhinwedd a maeth oddiyno. Y mae yno rywbeth anweledig. Yr afonydd dyfroedd yw yr hyn y mae yr adnod o'r blaen yn son am dano, "Yr hwn sydd a'i ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos." Y mae hwn fel pren yn lledu ei wraidd i'r afonydd dyfroedd. Y mae yma gymdeithas anweledig â Duw. Y mae yma fywyd anweledig. Pren byw ydyw. Ac y mae bywyd pob peth yn anweledig. A dyma y gwahaniaeth mawr gwreiddiol rhwng gwir grefyddwr a rhagrithiwr. Y mae yma fywyd mewn gwir grefydd. Y mae yma rywbeth anweledig. Trwy y bywyd yma y mae yn dal cymundeb â'r ysbrydol. Trwy y bywyd hwn y mae yn gallu effeithio ar yr holl gorph. Nid y bywyd ydyw yr ysbryd mewn dyn; ond eto, ni all yr ysbryd mewn dyn ddim effeithio a dylanwadu ar y corph, os na bydd bywyd yno. Trwy y bywyd y mae yr ysbryd a'r corph rywfodd yn cymdeithasu â'u gilydd. Felly mewn crefydd; y mae yma fywyd, a thrwy y bywyd hwnw, yr ydym yn dal cymdeithas â'r Ysbryd anweledig. A thrwy y bywyd hwn y mae yr Ysbryd yn estyn maeth a chyfnodd i'r holl aelodau o gorph Crist. Gofynwn am grefydd a bywyd ynddi y boreu heddyw, bywyd pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd. A pha le bynag y mae bywyd y mae yno gymdeithasu â phethau ysbrydol. Y mae ei ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd. Y mae yn myfyrio yn ei gyfraith ef ddydd a nos. Y mae yr ewyllys

yn y gyfraith. Dyma ysbryd gweddi. Beth ydyw ei ewyllys? Y peth y mae yn ei ddeisyf, ac yn gofyn am dano. Nid yw ddim yn teimlo ei fod yn ateb i'r gyfraith; ond dyma ei ewyllys. Y mae yn ymwybodol o ddiffygion; ond y mae ei ewyllys yn nghyfraith yr Arglwydd. Am hyn y mae yn gweddio, sef am gael ei gydffurfio â chyfraith yr Arglwydd.

Ac y mae hyn yn rhywbeth dirgel. Y mae yn gweddio llawer yn y dirgel na ŵyr y byd ddim am dano. "Dos i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddia ar dy Dad, yr hwn sydd yn y dirgel; a'th Dad, yr hwn a wel yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg." Dyma le i ni brofi ein crefydd eto y boreu hwn. Sut y mae hi gyda ni? A ydym yn gweddio yn y dirgel, yn daer, yn gweddio o ewyllys calon? A ydym yn gweddio llawer yn y dirgel? Ni bydd nerth at fywyd crefydd oddiallan, na ffrwyth i'w weled ar y pren, heb y gymdeithas yma â'r anweledig. "Gweddia ar dy Dad, yr hwn sydd yn y dirgel." Nid peth bach yw hyn: nid gwaith hawdd yw. Dyma un o brif anhawsderau crefydd, Gweddio. Y mae yn haws pob peth na gweddio yn iawn. O, fel y mae y meddyliau yn crwydro! Mor anhawdd cael y meddwl i ymsefydlu mewn gweddi! Hawdd iawn yw myned trwy gylch o gyflawniadau. Y mae yn llawer haws i'r Pabydd a'r pagan fyned trwy y seremonïau mwyaf poenus na gweddio am bum' munyd. Cael y meddwl i'w le, ac ymdrechu am ychydig, dyma y gwaith anweledig.

Heb hyn y mae crefydd yn rhwym o wywo. Gweddiwn am fwy o ysbryd gweddi. Yr Ysbryd Glân sydd yn help. Lle y mae yr Ysbryd y mae ysbryd gweddi. Nid oes dim gwell prawf i farnu ein cyflwr oddiwrtho, ac i wybod pa faint o grefydd sydd genym, na galw ein hunain i gyfrif, a gofyn a ydym yn gweddio llawer yn y dirgel.

Myfyrio eto. Dyma ffordd arall y mae y pren yn estyn ei wreiddiau i'r afonydd dyfroedd. Y mae yn myfyrio yn y gyfraith ddydd a nos. Y mae yn cymdeithasu â'r anweledig trwy fyfyrdod. Pwnc mawr y Salmau yw myfyrdod. Y mae o hyd, o hyd, yn son am hyn—bod ei fyfyrdod ef yn nghyfraith yr Arglwydd. Y mae rhai yn esbonio y gair hwnw fel hyn, "Digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Cymerant ef am fyfyrdod. Digonir fi â'th ddelw trwy fyfyrdod. "Myfi mewn myfyr," medd Edmund Prys.

Myfi mewn myfyr fel mewn hun,
A welaf lun d'wynebpryd.

Y mae y gair hwn yn arwyddo myfyrdod. Dyn wedi anghofio y byd, fel mewn cwsg; holl drafferthion y byd wedi eu hanghofio yn llwyr; ac yntau fel dyn mewn hun, mewn gweledigaeth, mewn myfyrdod, yn cymdeithasu â'r Anfeidrol:

Myfi mewn myfyr fel mewn hun,
A welaf lun d'wynebpryd;
A phan y deuaf o'r hun hon,
Y byddaf ddigon hyfryd.

Y mae yn cael rhyw hyfrydwch wedi gweled Duw mewn gweledigaeth a myfyrdod, wedi gweled llun ei wynebpryd. "Digonir fi pan ddihunwyf â'th ddelw di." Ymofynwn am y grefydd yma, gyfeillion.

*II. Crefydd yn Weledig.*

Lle y mae dyn fel yna, fel pren wedi ei blanu ar lan afonydd dyfroedd, yn estyn ei wreiddiau i'r anweledig, i'r byd ysbrydol, y mae yna ffrwyth yn weledig arno: "Fe rydd ei ffrwyth yn ei bryd, a'i ddalen ni wywa; a pha beth bynag a wnel efe a lwydda."

Fel yna y mae i ni gysoni geiriau yr Arglwydd Iesu. Y mae crefydd o ran ei hanfod, o angenrheidrwydd, yn

cynwys rhyw fywyd anweledig i ddynion. Ond eto, yr ydym ni i ofalu am fod ein gweithredoedd da ni yn weledig. Ond nid ydym i wneyd dim er mwyn y gweled; nid er mwyn y gweled. Nid ydym i wneyd elusen er mwyn ein gweled. Nid ydym i weddio er mwyn ein gweled gan ddynion. Y mae y cwbl yn dibynu ar hyn, pa beth yw yr amcan, a'r egwyddor y mae ein gweithredoedd yn tarddu ohoni. Y mae y rhagrithiwr yn gwneyd y cwbl er ei fwyn ei hunan, hunan-leshad, hunan-barch. Y mae crefydd Iesu Grist yn myned dan wraidd pob hunan. Nid ydym i wneyd dim er mwyn hunan-barch. Yr ydym i wneyd cymaint allom er mwyn ereill. Nid er mwyn ein hunain, ond i fod yn lles i ereill, ac yn ogoniant i Dduw. Yr amcan gan ddynion rhagrithiol ydyw hunan; ond y prif amcan gan y dyn duwiol yw gogoniant Duw; ac amcan arall, yn is-raddol i'r amcan mawr, yw lles ein cyd-ddynion. Rhaid i ni ymladd yn erbyn yr hunan. Rhaid i ni groeshoelio yr hunan. Byw nid i ni ein hunain. Teimlo grym croes Iesu Grist yn ein croeshoelio ni i ni ein hunain. Marw i ni ein hunain. Ac nid rhywbeth unwaith mewn oes yw hyn, ond bob dydd, rhaid i ni farw i ni ein hunain. I beth yr ydym i fyw? Wel, byw i ereill, i'n cyd-ddynion; amcanu gwneyd cymaint o les ag a fedrom i'n cyd-ddynion; ac uwchlaw y cwbl, cyfeirio ein golwg at ogoniant y Duw mawr.

Yn gyntaf, y mae eisieu crefydd i wneyd lles i ereill. Dyna ffrwyth. Dyna ydyw y pren iawn. Y mae yn dwyn ffrwyth i ereill, nid iddo ei hunan. Felly y mae y dyn duwiol. Y mae yn amcanu bod o rhyw les. "Chwi yw halen y ddaear." Y mae eisieu bod ein crefydd yn weledig. Cofiwch hyny. Dinas ar fryn ni ellir ei chuddio. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont

eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd." Peidiwch gwneyd dim er mwyn eich gweled; ac eto, byddwch fyw fel na fedr dynion ddim peidio eich gweled.

Nid fel y clywsant yw y gair. Nid oes eisieu i chwi siarad llawer. Nid clywed yw y gair; ond fel y gwelont. "Anwylyd, yr wyf yn atolwg i chwi, megis dieithriaid a phererinion," medd yr apostol, "ymgedwch oddiwrth chwantau cnawdol, y rhai sydd yn rhyfela yn erbyn yr enaid." Fel yna y mae i ni fyw yn y byd yma; mewn ymdrech gwastadol. Y mae y byd a ninau i fod mewn ymdrech gwastadol. "Anwylyd, yr wyf yn atolwg i chwi, fel dieithriaid a phererinion, &c., gan fod a'ch ymarweddiad yn onest yn mysg y cenhedloedd." Dywedir mai ystyr y gair "onest" yma ydyw prydferth, "a'ch ymarweddiad yn brydferth." O, feibion a merched anwyl, bydded eich ymarweddiad yn brydferth! Nid wyf yn erbyn i chwi wisgo yn brydferth; ond dyma y pwnc mawr. Bydded eich ymarweddiad yn brydferth. Bydded eich ymarweddiad yn brydferth yn mysg y cenhedloedd, "fel lle y maent yn eich goganu megis drwgweithredwyr, y gallont, oherwydd eich gweithredoedd da a welant, ogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad."

Yn ail, yr ydym i ddwyn ffrwyth er gogoniant i Dduw hefyd. Nis gallwn wneyd y naill heb y llall. Trwy amcanu at les ein cyd-ddynion y byddwn yn ogoniant i Dduw ei hun. Y maent wedi eu cysylltu â'u gilydd. Gwnewch gymaint o les ag a fedrwch i ereill; felly y caiff Duw ei ogoneddu. Fel y gogoneddont Dduw; fel y gogoneddont eich Tad, yr hwn sydd yn y nefoedd.

Y mae yn bosibl i bawb ohonoch chwi wneyd rhywbeth fel hyn. Ni raid i chwi ddim bod yn rhyw ddoniol iawn i wneyd hyn. Dim ond byw yn dduwiol, byw yn dduwiol;

dyna y ffordd. Pe na feddech ddawn i bregethu, na dysgu, na siarad. Fe fydd rhyw rai yn gogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad, am ryw les a gawsant drwyddoch chwi. Byddant yn diolch i Dduw am ddanfon y dyn yna atynt, am iddynt gael byw yr un amser ag ef: "Fel y gogoneddont Dduw yn nydd yr ymweliad." Wel, y mae y ffrwyth yma yn ffrwyth prydferth, ffrwyth yn ei bryd.

Yn drydedd, y mae yn barhaus. Y mae yn para o hyd. Y mae yn bren gwyrddlas. Ni ŵyr oddiwrth wres yr haf, na rhew y gauaf. Y mae ei wreiddiau yn rhy ddwfn wrth yr afonydd dyfroedd.

"A pha beth bynag a wnel, efe a lwydda." Nid aiff bywyd hwn ddim yn ofer. Dyma fywyd a lwydda. Y mae llawer o son am elfenau gwir lwyddiant. Dyma wir lwyddiant. Bywyd o rhyw les i'n cyd-ddynion; bywyd sydd yn ogoniant i'r Duw mawr. Dyma fywyd, fy anwyl bobl, nad aiff byth yn ofer. Pe medrech gasglu aur ac arian at eu gilydd—bywyd ofer! Os na bydd genych rywbeth uwch, aiff eich bywyd i gyd yn ofer. Pe gallech gyrhaedd y pinaclau uwchaf mewn anrhydedd a fedd y ddaear—bywyd ofer! O mor ofer y mae miloedd o'n cyd-ddynion yn treulio eu bywyd! Daw angeu yn y man. Rhaid i chwi adael y cwbl; a byddwch heb ddim os na chewch grefydd iawn, crefydd y Beibl.

Dyma y dyn gwir wynfydedig. Gwyn fyd hwn. Nid yn unig gwyn ei fyd yr ochr yma, ond gwyn ei fyd i dragwyddoldeb. Beth bynag a wnel efe a lwydda. Rhoed Duw y grefydd hon i ni. Amen.

# PREGETH V.

---

PSALM xxiii.: "Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed: canys yr wyt ti gyda mi: dy wialen a'th ffon a'm cysurant."

Y MAE yr adnod hon yn dangos gwerth crefydd yn amser marw. Er fod dynion yn gwahaniaethu yn eu meddwl yn nghylch gwerth crefydd yn amser ieuenctid a mwyniant bydol, pan y maent yn cael pethau y ddaear; eto, y mae bron bawb yn cytuno fod crefydd o werth mawr yn amser marw. Y mae llawer yn bresenol yn edrych ar grefydd fel rhyw bwysau. Y mae dynion ieuainc yn cymeryd y golwg hwnw ar grefydd,—fel rhywbeth heb un elfen o bleser ynddi. Ond pan y mae y rhai hyn yn rhodio glyn cysgod angeu, y mae y meddwl yn gweled crefydd yn beth gwerthfawr. Dymuniad cyffredinol ydyw hwnw, "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn; a bydded fy niwedd fel yr eiddo yntau." Ond eto, i farw marwolaeth y duwiol, y mae yn wir angenrheidiol i fyw bywyd yr uniawn. Felly yr oedd y Salmydd: yr oedd yn byw yn dduwiol; yr oedd yn byw trwy ras Duw. Ac yn awr, yn amser marw, yr oedd yn cael cysur trwy ei fywyd, fel ag y mae yr amgylchiad yma yn dywedyd, "Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Gwerth crefydd sydd yn dyfod i'r golwg yn y geiriau. Dyma y mater fydd genym am ychydig amser. Ac fe ddaw hyn i'r golwg wrth ystyried nas gall angeu ddinystrio crefydd. Bydd crefydd yn dinystrio angeu.

*I. Nis gall Angeu ddinystrio Crefydd.*

Y mae angeu yn malurio pethau y ddaear yma. Y mae cyfoeth a mwyniant bydol yn myned i ffordd o flaen cyffyrddiad angeu. Y mae angeu yn gosod ei droed haiarnaidd ar holl bethau gwerthfawr y byd. Ond y mae crefydd uwchlaw angeu. Y mae crefydd fel pe byddai yn bodoli mewn awyr nas gall angeu anadlu ynddi. Fe fydd crefydd yn myned trwy angeu heb ddim niwed, fel yr aeth yr Arglwydd Iesu trwy y byd heb ei lygru ei hunan. Felly y bydd crefydd yn myned trwy angeu a'r glyn heb ddim niwed,—heb gael ei dinystrio ganddo. Fe aeth y dynion ieuainc trwy y ffwrn dân heb sawyr tân arnynt. Felly fe fydd crefydd yn rhywbeth fel hyn : fe fydd yn myned trwy angeu heb ddim niwed.

Ni all angeu ddinystrio crefydd yn ei chysylltiadau, nac yn ei llawenydd, nac yn ei rhagolygon.

1. Nis gall ddinystrio crefydd yn ei chysylltiadau.—Cysylltiad crefydd â Duw fel Duw cyfamodol. Y mae Duw wedi myned i gyfamod â'i bobl ; ac y mae hwnw yn gyfamod o hedd a gras : "Oblegid hwn yw y cyfamod a amodaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd ; myfi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt : a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minau yn bobl." Beth all angau wneyd â hwn ? Dyma *document* ac amod y cyfamod nas gall angeu wneyd dim ohono. Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw. Fe aiff y grefydd yma gyda'r crefyddwr trwy lyn cysgod angeu. Nis gall ei dinystrio. Er, feallai, y bydd yr ystormydd yn arw iawn i lawer yn y glyn, a phob peth yn ymddangos, feallai, yn bur dywyll i lawer yno. Ond er hyny, fe fydd y grefydd yma,—fe fydd yr amod yma, fel yr haul uwchben pob ystorm, "Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw." Nis gall angeu ddinystrio hwn.

Fe aiff y ddau hyn, yn holl gyflawnder eu nerth, trwy y glyn heb ddim niwed. "Mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw." Fel y mae angeu yn dryllio amodau a wneir ar hyd y ddaear! Y mae angeu yn eu chwalu fel mŵg, ac yn eu llosgi fel tân. Ond dyma gyfamod nas gall angeu wneyd dim ohono. Cyfamod ydyw uwchlaw cyraedd angeu; cyfamod tragywyddol ydyw. Ynddo y byddom i gyd!

Ond cysylltiad crefydd â Christ. Y mae undeb agos iawn rhwng y dyn duwiol â Christ; ac eglurir ef trwy lawer o gydmariaethau yn y Beibl. Y mae Crist yn Ben iddynt; y mae Crist wedi eu prynu; Crist yn Frenin, ac y mae y crefyddwyr yn ddeiliaid. Y mae pob perthynasau ereill yn ffaelu yn y glyn. Y maent yn cael eu tori i fyny a'u dinystrio i gyd gan angeu, ond y berthynas wirioneddol yma sydd rhwng Crist a'i bobl. Y mae y cyffelybiaethau yna yn dangos fod yr undeb sydd rhwng Crist a'i bobl yn rhy glos i angau fyned rhyngddynt. Y mae y cymundeb sydd rhwng Crist a'i bobl y fath fel nas gall angau mo'i ddinystrio, na'i dori. Y perthynasau a'r undebau a ffurfir ar hyd y ddaear yma, y mae angeu yn eu dinystrio. Chwi brofasoch hyn oll. Y mae angeu wedi eu dinystrio a'u chwalu hwynt fel mwg. Ond dyma undeb a chysylltiad nas gall angeu ei hunan ddim ei dori: "Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Fy mywyd i yw eich bywyd chwi; eich bywyd chwi yw fy mywyd i; "Canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." "Fel y byddont oll yn un; megis yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni." Dyma undeb a aiff yn eithaf diogel trwy y glyn heb ddim niwed.

Pe ond y cysylltiad rhwng pobl dduwiol a'u gilydd, nid yw angeu yn gallu dinystrio hwnw ychwaith. Y maent yn aelodau o gorph Crist. Y maent yn Nghrist, a thrwyddo

ef. Y mae cysylltiad agos rhyngddynt, y fath gysylltiad nas gall angeu ei dori. Y mae yma rai ohonoch wedi claddu eich perthynasau yn yr Arglwydd. Ond nid aethant ar goll ; wedi myned yn mlaen y maent. Nid yw angeu wedi tori y cysylltiad hwnw oedd rhyngoch. Yn wir, gallai fod yma rai ag y bydd angeu yn tori y cysylltiad sydd rhyngoch yn y byd hwn : rhieni duwiol, a phlant annuwiol; gwr duwiol, a gwraig annuwiol; gwraig dduwiol, a gwr annuwiol. Y maent yn berthynasau agos. Y mae cysylltiad agos iawn rhyngoch, a theimladau cynes iawn. Ond bydd angeu yn ei ddryllio. O blant anwyl, bydd angeu yn dinystrio y cysylltiad sydd rhyngoch â rhieni duwiol am dragwyddoldeb. Byddwch yn myned i'r byd arall, ac i le arall yno. Ti fyddi yn cyd-oesi â'th dad duwiol ; ond chwi fyddwch yn anfeidrol bell oddiwrth eich gilydd. O Arglwydd mawr, drwy dy ras, cofia y plant annuwiol yma, fel yr uner hwynt â Christ ; fel trwyddo Ef y caffont gysylltiad a'u rhieni y fath nas datoda angeu ef. Ond y mae y cysylltiad sydd rhwng y rhai sydd yn credu a'u gilydd yn gyfryw nas gall angeu ei ddinystrio. Gwr duwiol a gwraig dduwiol ; plant a rhieni duwiol ; er fod angeu yn eich dosranu am ychydig amser,—byddwch chwi yn cyfarfod eto ar Fynydd Seion, a dinas y Duw byw, y Jerusalem nefol ; oherwydd y mae y fath undeb rhyngoch chwi â Christ nas gall angeu ei ddinystrio. Ac y mae hyn yn rhyw gysur ar hyd y ddaear yma, y byddwn eto yn cyfarfod a'n gilydd. Hen weinidogion a phobl dduwiol—y mae y cysylltiad trwy Iesu Grist mor agos fel na thyr angeu mo hono.

Crefydd yn ei llawenydd. Medd y credadyn : Ni ewyllysiwn golli y mwynhad wyf yn gael ar y ddaear yma gyda chrefydd ; yr wyf yn cael llawer o bleser yma na leiciwn mo'i golli. Ni cholli mo hono, gyfaill. Ni cholli

byth mohono Nis gall angeu ei ddinystrio. Y mae anghrefyddwyr yn cael rhyw bleser hyd y ddaear. Y maent yn mwynhau llawenydd yn mhethau y byd hwn. Ond fe fydd holl bleserau yr anghrefyddwyr yn gwywo o flaen gwynt oer angeu. O ddynion anwyl, y rhai sydd yn cael eu pleser yn y ddaear yma, bydd y ffynhonau hyn yn troi yn ddyfroedd chwerwon iawn. Bydd y llysiau a'r blodau hyn yn myned yn atgas iawn y pryd hwnw. Y mae y crefyddwyr yn cael pleser hefyd ar hyd y ddaear. O, y mae ffynhonau yn tarddu ar hyd y ddaear yma yn moddion gras, ac yr ydym yn yfed gyda hyfrydwch ohonynt. Dyma rai ohonynt. Maddeuant pechod. Yr ydym yn cael drachtiau hyfryd yma. Heddwch â Duw, a chymundeb â Christ. Dyma y pethau sydd yn melysu y byd hwn, a'r blodau sydd yn perarogli yn yr anialwch i'r crefyddwr. Ffynhonau na sych angeu mohonynt! Blodau na wywa y glyn a'i wynt oer mohonynt! Ni chollwch mo faddeuant yn y glyn. Na, bydd mor ddwfn fel ffynon cysur ag y mae yma. Heddwch â Duw; cymundeb â Christ; fe fydd y bendithion hyn, gyfeillion, yn myned drwy angeu heb eu dinystrio. Gwybod y byddom i gyd am faddeuant pechod, ac am heddwch â Duw. Yn y mwynhad o'r bendithion hyn byddwn mewn meddiant o bethau na ddinystria angeu mo honynt.

Crefydd yn ei rhagolygon. Edrych yn mlaen y mae hi. Y mae dynion yn y byd yma yn edrych yn mlaen. Dyna y dyn ieuanc fel prentis mewn lle—y mae yn edrych yn mlaen. Y mae y dyn ieuanc yn edrych yn mlaen at yr amser y bydd yn un-ar-hugain oed. Ond yn aml iawn y mae angeu yn dyfod, ac yn dinystrio y *prospects* i gyd, ac yntau yn myned i ffordd. Wel, beth a wnaeth hyny? Wel, angeu. Y mae gan grefydd ei rhagolygon. Y mae hi yn disgwyl, ac yn edrych yn mlaen. Y pethau

sydd ar y ddaear yma a phechod, y tu yma i angeu y maent; ac oherwydd hyny y mae angeu yn sathru y rhai hyny i gyd. Ond rhagolygon crefydd, y tu draw i angeu y maent. Adgyfodiad y corph; eu rhyddid yn cael ei gyhoeddi yn nydd y farn. Yr ydych oll yn dysgwyl hyn, ddynion duwiol. Dyma ran o'r pethau mawr a ddysgwyliwch. Wel, nis gall angeu wneyd dim ohonynt, oherwydd y maent y tu draw, yr ochr draw i angeu. Nis gall eu dinystrio, nis gall ond yn unig eich dwyn chwi yno atynt. Nis gall angeu ddinystrio crefydd. Peidiwch ofni eich crefydd. Y mae angeu, er mor gryf ydyw, yn rhy wan i grefydd y dyn duwiol.

*II. Y mae gwerth Crefydd i'w weled hefyd, os ystyriwn y bydd Crefydd yn Dinystrio Angeu.*

Yna bydd yr ymadrodd a ysgrifenwyd, "Angeu a lyncwyd mewn buddugoliaeth. Y gelyn diweddaf a ddinystrir yw yr angeu." A pheth yw iaith y testyn ond iaith o fuddugoliaeth? "Ie, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed; canys yr wyt ti gyda mi; dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Beth yw hyn? Wel, iaith crefydd, a iaith fuddugoliaethus crefydd yn y glyn yw hyn, Nid ofnaf niwed. Y mae yn dinystrio angeu yn ei enw, ei golyn, ac yn uffern angeu.

Y mae yn gyntaf yn dinystrio ei enw. Y mae angeu yn colli ei enw o'i blaen; ac nid yw yr un a gollodd ei enw o fawr bwys. A phan y mae yr Ysgrythyrau yn son am angeu mewn cysylltiad â chrefydd, nid angeu ydyw, ond huno. "Y rhai a hunasant yn yr Iesu." "Y mae ein cyfaill Lazarus yn huno; ond yr wyf fi yn myned i'w ddihuno ef." Y mae angeu wedi colli ei enw: y mae crefydd wedi ei ddinystrio. Y mae arnaf ofn angeu, medd rhyw Gristion. Nid angeu ydyw, ond huno

yw ei enw. Drwy nerth crefydd, a'th gysylltiad â Christ, y mae angeu wedi colli ei enw. Myned i gysgu. Y mae y Cristion yn cael ei gladdu. Wel, beth ydyw hyny? Wedi myned i lawr i'w wely i gysgu y mae. Medd yr apostol hefyd, "Dydd fy ymddatodiad i a nesaodd." Ymsymudiad hefyd. Felly y siarada yr apostol am dano. Symudiad yn unig ydyw. Fel pe meddyliech am un yn symud o'r ty hwn i dŷ arall. Felly yr edrycha yr apostol ar angeu,—fel symudiad o'r byd hwn i'r byd arall. Yr oedd yn teimlo fel pe buasai yn dweyd fod y *climate* yma yn oer iawn. Y mae arnaf awydd myned i le mwy twymn. Y mae pechod yn fy nilyn yma. Y mae arnaf flys symud i fyd nad oes pechod yn bod o'i fewn. Symud yr edrychai yr apostol arno. "Yr hwn a ddiddymodd angeu." O, peidiwch ofni marw! Peidiwch ofni marw! Nid yw ddim i'r dyn duwiol ond myned i gysgu. Y mae eich undeb a'ch cysylltiad â'r Arglwydd Iesu wedi distrywio ei enw. Colyn angeu, y mae crefydd yn ei ddinystrio. Yn y colyn y mae y niwed. Yn y pechod y mae y niwed. Ond y mae y Cristion yn dweyd, "O, angeu, pa le y mae dy golyn? O, uffern, pa le y mae dy fuddugoliaeth?" Colyn angeu yw pechod. Y mae crefydd wedi lladd pechod yn yr enaid; ac y mae yr euogrwydd wedi ei symud, a llywodraeth pechod wedi cael ei diorseddu, a bywyd pechod yn yr enaid wedi cael ergyd farwol. Y mae y colyn wedi ei ddinystrio. Nid oes dim yn y Cristion yn awr i'r colyn afael arno.

Yn ail, Y mae yn dinystrio uffern angeu. Y mae angeu yn taflu yr annuwiol i uffern. Y mae uffern yn dilyn angeu i'r dyn annuwiol. O, ddyn annuwiol, bydd angeu yn dy daflu i uffern am byth! Ond y mae crefydd yn dinystrio uffern,—yn taflu angeu i uffern ei hunan. Y mae Iesu Grist, yn ei le ef, wedi dyoddef cosb ei bechod. Y mae Iesu Grist wedi dyoddef uffern y crefyddwr; ac oherwydd

hyny y mae efe yn dianc ato ef. Yn amser marw bydd enaid y crefyddwr yn myned ar adenydd angylion, heibio i uffern, gerbron gorsedd Duw a'r Oen, i addoli yno am dragwyddoldeb. O, wrandawyr, gadewch i ni weddïo am y grefydd sydd yn dinystrio angeu, ag nas gall angeu ei dinystrio hi.

Cyn diweddu, dyna un sylw—Yr ansicrwydd mawr o gael crefydd yn amser marw. Yr ydych oll yn disgwyl cael crefydd y pryd hwnw. Ac wrth ddisgwyl felly, y mae yn ddigon tebyg eich bod yn twyllo eich hunain; oherwydd y mae yn beth ansicr iawn y cewch grefydd y pryd hwnw. Dyna un peth sydd yn dangos hyny—fod dynion y pryd hwnw yn ceisio crefydd dan ddylanwad ofn uffern, ac nid o egwyddor o edifeirwch. Ofn uffern sydd yn peri i'r dyn weddïo am grefydd. Ofn cael ei daflu i'r tân tragwyddol sydd arno! Os gwaeddi o dan ddylanwad ofn, gyfaill, nid oes un addewid o faddeuant i'r rhai sydd yn ofni uffern. Nid yw maddeuant ddim yn cael ei addaw i'r hwn sydd yn gwaeddi oherwydd ofn myned i uffern. Na; i'r rhai sydd yn edifarhau oherwydd pechod y rhoddir ef. Nid ofn uffern yw edifeirwch: ni roddir maddeuant ond i'r rhai sydd yn edifarhau. Nid oes un addewid felly. Onid ydym yn darllen am y lleidr ar y groes, ac am ddynion yn cael eu cyflogi ar yr unfed awr ar ddeg? Digon gwir. Esiamplau ydynt i ddangos fod Duw yn abl i achub, a'i fod yn gallu gwneyd; ond nid addewid. Siamplau. Y mae hyny yn dangos beth y gall efe ei wneyd; ond nid addewidion ydynt y bydd Duw yn dy achub di. "Yn awr yw yr amser cymeradwy; wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

Bydd crefydd yn amser marw yn gwneyd pob colled i fyny. Bydd pob peth yn colli yno. Ond fe fydd crefydd yn gwneyd y golled i fyny: "Yn wir, yn wir, meddaf i

chwi, nid oes neb a'r a adawodd dŷ, neu frodyr, neu chwiorydd, neu dad, neu fam, neu wraig, neu blant, neu diroedd, o'm hachos i a'r Efengyl, a'r ni dderbyn y càn cymaint yr awrhon y pryd hwn, dai, a brodyr, a chwiorydd, a mamau a phlant, a thiroedd, yn nghydag erlidiau ; ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol." Byddwch yn colli llawer, ond cewch lawer mwy.

Gwybod a gaffom am danynt oll, trwy Iesu Grist. Amen.

## PREGETH VI.*

---

Luc xxii. 15: "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Mi a chwenychais yn fawr fwyta y pasc hwn gyda chwi cyn dyoddef ohonof."

YR enw mwyaf hoff gan Iesu Grist o bob enw oèdd yr enw Mab y dyn; ac y mae yn ddiau ei fod ef yn hoff ohono, am ei fod yn enw ag sydd yn llawn o gysur i'w bobl yn mhob oes. Y mae yn rhaid ein bod ninau yn amddifadu ein hunain o lawer o gysur, os ydym yn anghofio fod ardderchowgrwydd mewn gwirionedd yn y geiriau Mab y dyn. Y mae yn gymaint cyfeiliornad cuddio ei ddyndod a chuddio ei Dduwdod. Mae yn sicr nad oes yma neb yn gwadu ei ddyndod o ran geiriau. Ond y mae llawer yn gwrando yn mhlith y Methodistiaid heb ystyried pa beth feddylir wrth ei fod yn Fab y dyn; a phrin iawn y goddef rhai i ni geisio dangos ei fod yn wir ddyn, ond ei fod heb bechod; ei fod yn meddu enaid dynol yn gystal a chorph; yn meddu ar ewyllys ddynol, a theimladau dynol, a'i fod yn cynyddu mewn doethineb.

Nid rhyw Berson canol oedd Iesu Grist, rhwng Duw a dynion. Yr oedd yn Berson canol rhwng y Tad a'r Ysbryd, ond nid canol rhwng Duw a dyn. Mae ganddo swydd ganol, ond nid yw yn Berson canol. Yr oedd yn ogyfuwch â Duw, ac yn wir Dduw, ac ar yr un

---

* A draddodwyd gan Dr. Edwards ar Sabbath y Pasc, yn Jewin Crescent, Llundain, yn y flwyddyn 1872.

pryd yr oedd yn wir ac yn berffaith ddyn. Y mae yr holl ddynoliaeth i'w gweled yn ei pherffeithrwydd ynddo ef, yr hon sydd yn rhanedig yn mhawb arall. Fe fyddai meithrin hyn yn gysur i ni, yn help i ni i gredu ynddo, ac yn rhyw help i fyned i mewn i ystyr geiriau y testyn yma heddyw: "Mi a chwenychais yn fawr fwyta y pasc hwn gyda chwi cyn dyoddef ohonof."

Beth oedd y chwenychiad hwn, yr hiraeth dirfawr hwn, oedd yn Iesu Grist am fwyta y pasc hwn gyda'i ddysgyblion? Ar ymyl y ddalen, fel hyn y rhoddir ef: "Gan chwenych, mi a chwenychais." Yr oedd teimlad o hiraeth ac awydd yn enaid y Cyfryngwr am y cyfleustra hwn.

Yr wyf yn tybied fod yma ddau beth yn amlwg iawn yn y geiriau hyn:—

1. Fod yr Arglwydd Iesu yn teimlo awydd cryf i fwyta y pasc hwn gyda'i ddysgyblion, er mwyn dangos ei gydymdeimlad â'i frodyr yn eu profedigaeth. Yr oedd arno awydd gweini cysur iddynt, trwy ddangos cydymdeimlad â'i frodyr druain yn eu trallod. Nid dyna y cwbl: y mae yma ryw ystyr arall eto,—

2. Nid yn unig yr oedd Iesu Grist yn hiraethu am y cyfle i ddangos cydymdeimlad â'i frodyr, ond yr oedd yn hiraethu am gael bwyta y pasc hwn gyda'i ddysgyblion, er mwyn derbyn cysur i'w feddwl sanctaidd oddiwrth eu cydymdeimlad hwythau. Yr oedd hi yn gydymdeimlad o'r ddwy ochr: y dysgyblion yn cydymdeimlo â'r Iesu, a'r Iesu yn cydymdeimlo â'r dysgyblion. Cofiwch o hyd ei fod yn ddyn yn teimlo fel ninau. Rhaid i chwi oddef i mi siarad yn ddynol am Berson fel hyn. Oblegid yr oedd efe yn Dduw. Yr wyf yn credu yn ddiysgog ei fod yn Dduw; ond mor ddiysgog a hyny, yr wyf yn credu ei fod yn berffaith ddyn.

*I. Yr oedd Iesu Grist yn awyddus iawn am fwyta y pasc hwn er mwyn gweini cysur i'w meddyliau hwy yn eu trallod a'u profedigaeth.*

Yr oedd hi yn dywyll iawn ar y dysgyblion—yr amgylchiad mwyaf trist wedi dyfod i'w cyfarfod: un oedd mor barchus ac anwyl ganddynt yn dweyd ei fod yn myned i'w gadael. Ond nid oedd am eu gadael heb eu cysuro a'u cadarnhau. Yn yr amgylchiad hwn y llefarodd y penodau hyny yn Ioan. Felly y teifl y naill Efengyl oleu ar y llall.

Un o'r gwirioneddau gwerthfawrocaf yn y Beibl yw y gwirionedd am gydymdeimlad yr Arglwydd Iesu â'i frodyr. Yr wyf yn arfer y gair "cydymdeimlad," am mai dyna y gair mwyaf cyffredin. Ond y mae gair y Beibl yn gryfach eto. Gair cryf iawn yw y gair y mae Ysbryd Duw yn ei gydnabod: "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni." "Cyd-ddyoddef â'n gwendid ni." Fe lefarwyd y gair yna wedi iddo esgyn i ogoniant. Y mae yn awr yn medru cyd-ddyoddef. Y mae wedi gorphen dyoddef. Nid yw wedi gorphen cyd-ddyoddef. Y mae yn anhawdd i ni ddirnad beth sydd yn y gair. Yr ydym ni yn dueddol iawn i fyned heibio i eiriau fel hyn heb weled eu hystyr. Byddai yn dda i ni agor ychydig ar y gair hwn—cyd-ddyoddef. Dyna ydyw dyoddef gyda ni. Mab Duw yn dyoddef eto gyda'i bobl. Dyna eiriau y Beibl. Ni buaswn i yn anturio dweyd y fath beth, oni bai ei fod yma. Y mae eto yn dyoddef gyda ni. Fe ddyoddefodd drosom ni; a diau mai dyna y dyoddef mwyaf. Ond y mae yn dyoddef gyda ni. Ac ni byddai yn ormod dweyd, yn gyntaf, iddo ddyoddef dros ei bobl, er mwyn iddo ddyoddef gyda hwy. Nid dyna y cwbl. Dyoddefodd drostynt i wneyd Iawn i gyfiawnder dwyfol. Ond yr oedd hwn yn bwriadu bod yn archoffeiriad perffaith addas i ni. Fe ddyoddefodd drosom ni fel y gallasai

ddyoddef gyda ni. Cofiwch hyn ; a chofiwch ei fod yr un eto. Dyna sydd yn werthfawr : " Iesu Grist ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Y mae ei Dduwdod yn tragwyddoli ei gydymdeimlad. Heb fod yn ddyn, nis gallasai gydymdeimlo ; heb fod yn Dduw, ni buasai y cydymdeimlad yn anghyfnewidiol. Y mae ei Dduwdod yn tragwyddoli teimladau ei ddyndod. Y mae ei Dduwdod yn hollbresenoli teimladau ei ddyndod. Y maent yn cydgymysgu yn y Person anfeidrol. Eto, am ei fod yn Dduw, y mae yn agos atom. Mae yr un sydd yn cyd-ddyoddef â ninau yma heddyw ; ac y mae teimladau y natur ddynol ynddo, ac y mae ei ddwyfoldeb mor agos fel y gallwn ni fyned ato. Gallwn gyffwrdd âg ef trwy weddio : " Yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."

Yr oedd am gael bwyta y pasc hwn i ddangos cydymdeimlad. Y mae yn cydymdeimlo â chwithau, frodyr, yn eich profedigaethau a'ch tristwch. Os oes yma rai wedi colli eu perthynasau, y mae yr Iesu yn cydymdeimlo â chwi. Y mae yr un heddyw a phan yr oedd yn wylo uwchben bedd Lazarus. Dyna un o'r penodau rhyfeddaf yn y Beibl. Yr adnod bach hono—adnod fawr y byddaf fi yn arfer ei galw hi, " Yr Iesu a wylodd." A ddarfu i chwi sylwi ar yr adnodau blaenorol ? " Yr Iesu, gan hyny, pan welodd hi yn wylo, a'r Iuddewon y rhai a ddaethai gyda hi yn wylo, a ruddfanodd yn yr ysbryd, ac a gynhyrfwyd." Yr ystyr yn y fan yma, medd esbonwyr, ydyw fod yna ryw gynhyrfiad—ryw ymdrech yn mynwes yr Iesu i gadw ei deimladau i mewn : " Ac a ruddfanodd yn yr ysbryd." Fe'i cynhyrfwyd ef ; ond ni thorodd allan ar y pryd. Nid yw y dyn o deimladau coeth ddim yn hoffi dangos ei deimladau i bawb. Cadwodd ei deimladau i mewn ; ond yr oedd yn ymdrechu. Yr oedd efe yn ddyn gwirioneddol—nid esgus. Fe ymdrechodd gadw ei deimladau o'r golwg hyd nes y

daeth at fedd ei hen gyfaill. Methodd ddal dim ychwaneg. Gyda pharch y dywedaf hyny; ïe, gyda mwy na pharch, am y Person bendigedig—gydag addoliad! Ond nid yw yn anmharch arno i ddweyd i'w gariad fyned yn drech nag ef. Torodd ei deimladau allan yn ffrwd: "Yr Iesu a wylodd." Mi a feddyliwn fod yr ysgrifenydd sanctaidd yn gweled rhywbeth mawr yn y fan yma. Nid fel darn o frawddeg y dywedodd hyn; ond y mae yn gwneyd *pause* mewn syndod. Nid *A'r* Iesu a wylodd, fel darn o rywbeth arall. Na: *Yr* Iesu a wylodd! Dyma lon'd byd o adnod. Cofiwch, y mae yr un eto: "Iesu Grist ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."

Y mae ei gydymdeimlad i'w weled yn ei dynerwch. Y mae yma ryw eiriau bychain i'w cael; ond y maent yn dlws: "Fe'i rhoddes ef i'w fam." Dyna air tlws. Cododd ef o farw. Do. Nid oedd hyny yn rhyfedd. Ond dyma sydd yn rhyfedd, gofalu am deimladau y fam. Y mae efe yr un eto. Ond beth arall?

Y mae yn cydymdeimlo â'i frodyr yn eu temtasiynau. "Nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddioddef â'n gwendid ni, ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunyd a ninau, eto heb bechod." Gwendid dyn yn ngwyneb temtasiynau a feddylir. Ein gwendid i ymladd â'r diafol. Y mae yr Iesu wedi bod yn yr ymdrech o'r blaen. Y mae wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunyd a ninau, eto heb bechod. Y mae yn medru cydymdeimlo â'r bechgyn ieuainc yn eu brwydrau â'r diafol. Ewch ato am help. Llefwch ar yr Iesu pan y byddwch yn gweled y diafol yn dyfod atoch. Y mae efe yn cydymdeimlo.

Pe dywedwn beth arall yn y fan yma: Nid yn unig y mae yn cydymdeimlo â'i frodyr pan yn cael eu temtio i bechu, ond y mae yn medru cydymdeimlo â'r gweiniaid pan yn cael eu gorchfygu gan y demtasiwn. Y mae hyn

yn wir, yr wyf yn credu. Y mae Mab Duw yn medru cyd-ddyoddef a chydymdeimlo â'r pechadur gwan sydd yn cael ei orchfygu gan y diafol. Ond nid yw yn cydymdeimlo â'r rhagrithiwr. Ond os wyt yn ceisio ymdrechu ; os wyt yn ceisio byw heb bechu o'i flaen ; os wyt yn gywir ; er i ti weithiau gael dy orchfygu, y mae Iesu Grist yn medru cyd-ddyoddef. Y mae sail yn y Beibl i hyn. Fe edrychodd ar Pedr. Dyna dro angharedig wnaeth Pedr gyda'i Feistr ; ond eto, ni ddarfu i'r Iesu ei roddi i fyny : "Yr Arglwydd a drodd." Pe baem ninau yn fwy bywiog ein meddyliau, braidd na allem ei sylweddoli. Yr Iesu mawr yn troi, yn edrych, nid gyda gŵg, ond gyda thosturi anfeidrol, nes y pelydrai ei dosturi i galon yr hen Bedr, fel y gorfu arno fyned allan a wylo yn chwerw-dost. Dyma hanfod eiriolaeth Mab Duw. Dyma enaid ei eiriolaeth ef : "O phecha neb y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist, y Cyfiawn ; ac efe yw yr Iawn dros ein pechodau ni ; ac nid dros yr eiddom ni yn unig, eithr dros bechodau yr holl fyd." Meddwl mawr a gaffom ni am dano, a chymhorth i addoli wrth son am un mor fawr. Dyna ddywedaf ar y mater cyntaf.

*II. Yr oedd yr Arglwydd Iesu yn awyddus iawn i fwyta y pasc hwn gyda'i ddysgyblion, er mwyn derbyn cysur i'w enaid sanctaidd oddiwrth eu cydymdeimlad hwythau.*

Nid oedd efe ddim uwchlaw derbyn cysur. Yr Arglwydd Iesu, Creawdwr y bydoedd, yr oedd wedi dyfod i agwedd mor isel,—yr oedd mor gyfyng ar ei enaid sanctaidd ef, fel yr oedd yn gysur gweled ei ddysgyblion o'i amgylch, a derbyn eu cydymdeimlad. Y mae hyny ynddo yn ddiameu. "Chwenychais yn fawr fwyta y pasc hwn gyda chwi cyn dyoddef ohonof. Byddaf yn rhy bell yn fuan : *cyn* dyoddef. Byddaf y tuhwnt i neb ohonoch allu estyn

cymhorth i mi yn fuan. Yr wyf yn myned i'r tywyllwch, lle y mae Duw o'r golwg. Nis gellwch wneyd dim i mi y pryd hwnw. Ond *cyn* dyoddef ohonof. Y mae yn dda genyf gael eich cwmni. Da genyf eich cael o'm hamgylch, i ni gael helpu ein gilydd." Yr oedd yn derbyn cysur. "Chwi yw y rhai a arhosasoch gyd mi yn fy mhrofedigaethau." Nid geiriau gwâg ydyw y rhai yna; yr oedd yn teimlo beth oedd yn ei ddweyd. "Chwi yw y rhai a arhosasoch gyda mi yn fy mhrofedigaethau." Gobeithio fod yma rai ohonynt, wedi aros yn y dref fawr yma yn nghanol y gwyntoedd croesion. Y mae yma lawer wedi dyfod yma; ac y mae yma lawer wedi aros gyda'r Iesu yn ei brofedigaethau. Wel, y mae yn rhoddi pris mawr ar hyn. Y mae ganddo sylw ar hyny. Y mae Iesu Grist, Pen Mawr yr Eglwys, yn rhoddi gwerth mawr ar ymlyniad ei bobl wrtho ef yn ei eglwys. "Chwychwi yw y rhai a arhosasoch gyda mi yn fy mhrofedigaethau. Ac yr wyf fi yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy Nhad i minau." Mi gofiaf am danoch chwi byth. "Megis yr ordeiniodd fy Nhad i minau." Cewch yr un peth a minau. Cymerasoch yr un driniaeth a mi yma; cewch yr un peth a minau draw. Darfu i chwi gyd-ddyoddef; cewch gyd-etifeddu gyda minau. Yr wyf yn ordeinio i chwi deyrnas, megis yr ordeiniodd fy Nhad i minau: fel y bwytaoch ac yr yfoch ar fy mwrdd i yn fy nheyrnas, ac yr eisteddoch ar orseddfeydd, yn barnu deuddeg llwyth Israel." Fe gei di fod yno; ac nid fel *waiters* y byddwch chwi yno. Y mae yma rai gaiff eistedd ar yr un bwrdd a Iesu Grist yn fuan iawn. Y mae ffyddlondeb ei bobl y perl gwerthfawrocaf yn ngolwg Iesu Grist. Nid eich doniau, nid eich siarad, ond eich ffyddlondeb: aros gydag ef yn ei brofedigaethau.

Y mae hyn yn help i'r Arglwydd Iesu. Pe medrwn wasgu hyn at eich meddyliau. Yn yr un benod yr ydym

yn cael, "Ac angel o'r nef a ymddangosodd iddo, yn ei nerthu ef." Dyna greadur yn nerthu y Creawdwr. Y mae yma ddyfnder a dirgelwch nad wyf yn ceisio ei esbonio. Nid oes genyf ond dyweyd pethau fel yr wyf yn eu cael. Creadur yn nerthu y Creawdwr: "Ymddangosodd angel iddo, yn ei nerthu ef." Ac os oedd cymhorth angel yn rhyw help i'r Gwaredwr, ai tybed nad oedd cydymdeimlad ei frodyr yn llawn cymaint peth? Yr oedd yn derbyn cysur wrth weled ei frodyr yn cydymdeimlo âg ef. Beth allwn ni wneyd heddyw? Y mae uwchlaw i ni roddi dim help iddo heddyw. Nis gallwn. Y mae ein cariad fel cariad y dysgyblion. O! pe buasai efe yma gyda ni, buasai yn dda genyf wneyd cymwynas iddo, pe cawn y cyfle! O! mor werthfawr fuasai hyny! Ond y mae wedi myned adref; nis gallaf wneyd dim! Na; camsynied yw hyny. "Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei ddeheulaw, Deuwch chwi fendigedigion fy Nhad, etifeddwch y deyrnas a barotowd i chwi er seiliad y byd. Canys bûm newynog, a chwi a roisoch i mi fwyd; bu arnaf syched, a rhoisoch i mi ddiod; bûm ddieithr, a dygasoch fi gyda chwi; noeth, a dilladasoch fi; bûm glaf, ac ymwelsoch a mi; bûm yn ngharchar, a daethoch ataf." Dyna yr Arglwydd Iesu gyda chwi, Tywysog y Nefoedd! Gellwch agor y drws iddo; a rhoddi tamaid iddo. Gellwch ddangos caredigrwydd iddo yn Llundain. Ofni yr ydwyf mai gwr dieithr ydyw yn y rhan fwyaf o ystrydoedd Llundain. O! gobeithio fod yma ambell eneth o Gymru yn dangos caredigrwydd i'r Arglwydd Iesu yn y Brifddinas. "Yna yr etyb y rhai cyfiawn iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd y'th welsom yn newynog, ac y'th borthasom? neu yn sychedig, ac y rhoisom i ti ddiod? A pha bryd y'th welsom yn ddieithr, ac y'th ddygasom gyda ni? neu yn noeth, ac y'th ddilladasom? A pha bryd y'th welsom yn

glaf, ac yn ngharchar, ac y daethom atat?" "A'r Brenin a etyb, ac a ddywed wrthynt, Yn wir, meddaf i chwi, yn gymaint a'i wneuthur ohonoch i un o'r rhai hyn, fy mrodyr lleiaf, i mi y gwnaethoch." Y mae yn *identifyo* ei hun â'i frodyr lleiaf. Beth bynag ydyw eich ymddygiadau chwithau at ei frodyr lleiaf, ac at ei achos, dyna eich ymddygiad at yr Arglwydd Iesu. A ydych yn gwneyd caredigrwydd i'r Arglwydd Iesu yn ei achos? A ydych yn gwneyd hyny allwch? Os ydych, yr ydych yn gwneyd caredigrwydd i un na anghofia byth eich llafurus gariad. Fe ystyriai ei fod yn gwneyd anghyfiawnder i anghofio eich cariad chwi, —eich llafurus gariad a ddangosasoch tuagat ei enw ef. Cymhorth a gaffom i garu hyd y diwedd.

A ydyw pawb ohonom yn gwneyd arferiad o ddyfod at Fwrdd yr Arglwydd i fwyta gyda'r Iesu, wrth ei fwrdd, yn ei dŷ ar y ddaear? Pa sut y mae hi yn hyn gyda ni? Y mae y duwinyddion goreu yn barnu fod rhyw gymdeithas agos rhwng Iesu Grist a'i bobl, yn yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, nad yw i'w chael yn un o'r ordinhadau ereill. A fyddwch yn dyfod yma i ddisgwyl wrtho, i gyfarfod âg ef? Y mae yr Arglwydd Iesu yn bwriadu dyfod. Y mae yn dda gan ei galon ef ddyfod at ei frodyr eto, i fwyta y pasc gyda ni, i gofio am angeu y groes gyda'i frodyr, i ddangos ei hunan i chwi, ac i ddweyd gair i'ch cysuro. Y mae yma bob tro; a ydych chwi yma yn disgwyl am dano? Pan y bydd ei ddysgyblion wrth y bwrdd yn dangos eu cariad ato, ac yn adnewyddu eu cyfamod—a ydych yma gyda'i blant yn disgwyl wrtho, ac yn rhoddi eich hunain iddo? A ydyw pawb ohonom yn gyfeillion i'r Iesu? O, y fraint o fod yn gyfeillion i'r Iesu bendigedig! Y mae yn foddlon i ni fod yn gyfeillion iddo! Nid yw ddim yn eich galw yn weision, ond yn gyfeillion. A ydych chwi yn gyfeillion i'r Person mawr y bûm i yn son am dano? A

ydyw yn dda genych am ei Enw, ei Air, a'i orchymynion? Dyma y fraint fwyaf, yr uwchaf oddiyma i'r nefoedd—Dilyn yr Arglwydd Iesu yn ffyddlawn hyd y diwedd. Ei fendith ar hyn. Amen.

## PREGETH VII.*

2 Cor. v. 20, 21; vi. 1, 2: "Am hyny yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch drwom ni, yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymoder chwi â Duw. Canys yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." "A ninau gan gydweithio, ydym yn atolwg i chwi na dderbynioch ras Duw yn ofer. Canys y mae efe yn dywedyd, Mewn amser cymeradwy y'th wrandewais, ac yn nydd iachawdwriaeth y'th gynorthwyais: wele, yn awr yr amser cymeradwy; wele, yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

Y MAE cysylltiad agos rhwng y ddwy benod; ac wrth i ni edrych i'r rhan gyntaf o'r bumed benod, yr ydym yn gweled ar unwaith beth oedd wedi bod yn achlysur i wneyd yr apostol mor danllyd. Y mae wedi bod yn meddwl llawer am angeu, ac am y byd y tudraw i angeu. Y mae wedi bod yn cymdeithasu â'r byd mawr tragwyddol. Y mae hyny wedi effeithio ar ei feddwl, ac y mae yn penderfynu. Yr oedd meddwl am angeu yn ei wneyd yn fwy selog; ac yr oedd byw yn agos at Dduw, a myned yn mlaen yn ffyddlon gyda'r achos yn esmwythau ei feddwl gyda golwg ar angeu. Yr oedd yn cael lle i feddwl y byddai yn fwy esmwyth arno pan y byddai yn marw; wedi iddo roddi ei hun, enaid a chorph, yn y modd mwyaf ymdrechgar gydag achos yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd yn canfod trefn y cymod wedi ei chwblhau; ac yr oedd yn ystyried ei fod wedi profi hyny, wedi profi y cymod ei hunan; ac yr oedd yn teimlo y profai felly i ereill. Ni gawn sylwi ar bwysigrwydd cenadwri y cymod.

---

* A draddodwyd yn y Bala, yn nechreu y flwyddyn 1867, ar adeg agoriad y Capel Newydd.

*I. Pwysigrwydd y genadwri yn ei chyhoeddiad:* "Am hyny yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw," &c.

*II. Pwysigrwydd y genadwri yn ei sylfaen:* "Canys yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni," &c.

*III. Pwysigrwydd y genadwri gyda golwg ar ei derbyniad:* "A ninau, gan gydweithio, ydym yn atolwg i chwi na dderbynioch ras Duw yn ofer."

*IV. Pwysigrwydd y genadwri yn ei hamser:* "Mewn amser cymeradwy y'th wrandewais, ac yn nydd iachawdwriaeth y'th gynorthwyais."

*I. Pwysigrwydd y genadwri yn ei chyhoeddiad:* "Am hyny yr ydym ni yn genhadau dros Grist, megis pe byddai Duw yn deisyf arnoch drwom ni; yr ydym yn erfyn dros Grist, Cymoder chwi â Duw."

Yr hyn sydd yn gwneyd cyhoeddiad y genadwri yn bwysig ydyw mai cyhoeddiad oddiwrth Dduw ydyw hi; cenadwri oddiwrth Dduw ydyw. "Am hyny yr ydym ni yn genhadau dros Grist megis pe byddai Duw." Yr oedd Paul yn gweled fod yn angenrheidiol dangos hyn iddynt. Y weinidogaeth,—gweinidogaeth y cymod ydyw hi; Duw sydd yn llefaru. Cenhadau dros Dduw ydym, os ydym yn wirioneddol. Y mae yn ddiameu fod cymaint o angenrheidrwydd dangos hyn yn awr ag yn amser Paul. A oes genym olwg ar y genadwri? Os nad oes genym olwg ar hyn, y mae yn anmhosibl cael bendith. Rhaid canfod mwy na'r pregethwr, a gweled tuhwnt i'r genau. Rhaid i chwi deimlo fod rhywun heblaw dyn yn llefaru, ac fod awdurdod yn y genadwri. Y mae Duw ei hunan yn anfon i ofyn i chwi ddyfod i gymod âg ef ei hunan. Hyn sydd yn peri fod y genadwri yma yn sail digonol i ni bwyso arni i'w

derbyn, a disgwyl cael lles drwyddi. Felly y mae arnom ni pan yn dyfod yn nghyd, y mae arnom eisieu iachawdwriaeth; y mae arnom eisieu sylfaen safadwy i bwyso arni. Y mae arnom angen cymod â Duw. Ni chawn ddim yn y pregethau i wneyd i fyny ein hangen, ac i fod yn ddigonol i'n trueni, fel y gallwn bwyso arno, os na byddwn yn canfod fod Duw yn y genadwri. Cymhorth a gaffom i fyned at y Meistr ei hunan, ac i weled ei awdurdod a'i fawredd ef ei hun yma.

Cenhadau dros Grist: llysgenhadau, nid cenhadau cyffredin, "Fel pe byddai Duw yn deisyf arnoch trwom ni." Mae achos ofni fod llawer yn dyfod yn nghyd heb ystyried hyn. Rhywbeth bydol a daearol ydyw yn eu golwg hwy. Y maent heb weled dim ond y moddion a'r genad. Ond Duw sydd yn llefaru. Rhoed gymhorth i ni gofio hyny. Nid peth dibwys ydyw myned drwy y pregethu yma; y mae y genadwri oddiwrth Dduw, ac yr ydym yn sicr o deimlo hyny yn rhywle.

Yma hefyd gwelwn fod Duw yn llefaru trwy Grist, "Sef bod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd âg ef ei hun." Y mae Iesu Grist yn llefaru, a Duw yn llefaru; ac y mae cytundeb rhyngddynt â'u gilydd. Y mae Duw yn llefaru yn Nghrist; y mae yn anfon allan delerau heddwch yn Nghrist. A dyma weision yn cael eu hanfon, a dyma y trysor yn cael ei roddi dan eu gofal; a hwythau yn cael eu codi i fyny i gario y genadwri dros Dduw, i ofyn iddynt ddyfod i gymod â Duw yn Nghrist.

*II. Pwysigrwydd y Genadwri yn ei Sylfaen.* Nid ydym heb sail. Nis gallwn feiddio cuddio telerau y cymod. Nid ydym heb resymau yn ein genau i ofyn i bobl ddyfod i gymod. Y mae genym sail i sefyll arni, a rhesymau digonol i'w gwasgu at feddyliau ein gilydd: "Canys yr

hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni; fel y'n gwnelid ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef." Y mae hyn yn fath o esboniad ar y geiriau blaenorol; i ddangos telerau y cymod, ei fod yn cymodi y byd âg ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau. Fel yna y mae Duw yn dyfod at bechadur: galw ar y gelyn, y rebel a'r hen bechadur tlawd nad yw yn werth dim ond i'w ddamnio. Y mae Duw yn dyfod ar ei ol i ofyn iddo ddyfod i gymod; a dyma y telerau, "Heb gyfrif iddynt eu pechodau." Y mae yma drefn i faddeu y pechodau a maddeu y beiau. Yr oes o wrthryfelgarwch penderfynol sydd wedi bod yn dy holl enaid yn erbyn Duw o hyd, y mae yn foddlon maddeu y cwbl, a pheidio eu cyfrif i ti.

Pa sut y mae hyny yn bod? Wel, dyma yr esboniad: "Canys yr hwn nid adnabu bechod a wnaeth efe yn bechod drosom ni." Cael un arall yn dy le di a ddarfu iddo. Cael un glân, dieuog, yr hwn ni wnaeth bechod; rhoddi dy gosbedigaeth arno ef, er mwyn i ti gael dianc, a dy godi i fyny byth trwy ei glwyfau a'i ddyoddefaint ef yn dy le: "Yr hwn nid adnabu bechod." Nid oedd neb allai wneyd ond yr hwn oedd heb adnabod pechod. Yr un glân, heb eisieu iddo wneyd dim drosto ei hunan. Y glân oedd efe; y dihalog, yr hwn nid adnabu bechod. Y mae hwn wedi cael ei wneyd yn bechod drosom ni i'n gwneyd ni yn gyfiawnder Duw ynddo ef.

Y mae yma rywbeth mwy na rhoi yn unig. Nid rhoddi yn unig. Y mae rhoddi y Mab yn cael ei ddwyn i ddangos ei gariad mawr ef. Ond nid rhoddi ydyw y cwbl sydd yma; ond ei wneyd ef yn bechod; ei roddi yn dy le, a'i daro er mwyn i ti gael byw. Galw ar y cleddyf i ddeffro a'i daro ef, a rhoddi dy feiau arno ef, er mwyn i ti gael dianc. Nid wyf yn gwybod beth oedd yr amcan yn hanes Abraham, os nad i roddi rhyw olwg ar drefn Duw yn

cyfarfod y gelyn gwrthryfelgar. Gwyddoch am hanes Abraham. "A bu wedi hyny i Dduw brofi Abraham." Mewn cydmariaeth i hyn, nid oedd wedi cael ei brofi. Nid oedd y cwbl a wnaeth o'r blaen yn werth i'w enwi: gadael ei wlad, ei berthynasau a'i ffryndiau. Y mae yn myned i gael ei brofi yn awr: "Yna y dywedodd Duw, Cymer yr awr hon dy fab, sef dy unig fab Isaac, yr hwn a hoffaist, a dos rhagot i dir Moriah, ac offryma ef yno yn boethoffrwm ar un o'r mynyddoedd, yr hwn a ddywedwyf i ti." Ac nid ei roddi yn unig, ond ei roddi yn aberth i Dduw oedd raid iddo. Bûm yn rhyfeddu lawer gwaith am ei brawf. "Ac Abraham a fore-gododd, ac a gyfrwyodd ei asyn, ac a gymerodd ei ddau lanc gydag ef, ac Isaac ei fab." Dyma fe dan y prawf. Gwell ufuddhau er mor anhawdd. Nid yw hyn ond dangosiad gwan o'r peth y mae Duw yn ei wneyd i gymodi gelyn âg ef ei hun. Wrth ddarllen yr hanes, onid ydyw dy feddwl di weithiau yn myned at Dduw? Gellir dweyd am Dduw ei fod wedi bore-godi. Ni arbedodd y Mab, ond fe'i traddododd ef trosom ni. Efe a fore-gododd; sylwodd ar dy fath er tragwyddoldeb; anfonodd ei Fab ei hun i farw drosot. Ac nis gwn pa un oedd yn fwyaf anhawdd, ai i Isaac ddyoddef, ai i Abraham roddi yr ergyd. Dacw Abraham yn rhoddi y coed ar gefn Isaac. Yr oedd y baich gan Isaac, a'r tân a'r gyllell gan Abraham. Yr oedd yn haws i Isaac gario yr holl goed nag i Abraham gario y gyllell. Felly yr oedd hi gyda Duw a Christ. Yr oedd y baich ar Grist. Ni chafodd neb i'w gynorthwyo yn y fan yma. Pan yn myned i ben y bryn, fe gafwyd un i'w gynorthwyo, mae yn wir. Ond yr oedd yna rywbeth trymach o lawer i'w gario na'r groes; ac yr oedd yn rhaid iddo gario hwnw ei hunan: "Yr hwn a wnaeth efe yn bechod drosom ni." Fe ddyoddefodd er mwyn i ti gael byw.

Fel yna, y mae Duw yn defnyddio y llwybr yna i'n cymodi ninau. Ac y mae wedi dyfod atoch chwi yn Nghymru ; ac y mae yn gofyn i chwi ddyfod i gymod âg ef yn ei anwyl Fab. Ac y mae ganddo drefn ogoneddus, gyfeillion, yn ras i gyd. Y mae wedi rhoddi ei anwyl Fab yn eich lle, er mwyn cael llwybr i achub. Ac yn awr y mae yn galw am i ti ddyfod i gymod âg ef ei hun yn y drefn hon. Yn Iesu Grist y mae sail i bwyso arni. Y mae gair Duw yn dweyd fod rhodd yn y dirgel yn tori digofaint, a gwobr yn y fynwes lid cryf. Y mae rhywbeth mewn gwobr yn tueddu i ladd digofaint. Y mae hyn yn y genadwri yma. Y mae Duw yn Dad i roddi rhodd ; ac y mae yn ein cyfarfod mewn heddwch. Y mae yn rhoddi ei Fab i chwi i'ch gwneyd yn gyfiawnder Duw ynddo ef. Wel, cymoder chwi yn y drefn hon.

*III. Pwysigrwydd y genadwri gyda golwg ar ei derbyniad:* "A ninau gan gydweithio, ydym yn atolwg i chwi na dderbynioch ras Duw yn ofer."

Y derbyn yma yw y peth mawr. A feddyliasoch am bwysigrwydd cenadwri y cymod gyda golwg ar ei derbyniad? Y mae Duw yn rhoddi pwys mawr ar hyn. A ydyw y pechadur yn ei derbyn rhag fod y cwbl yn ofer. A chofiwch mai nid y genad ei hunan sydd yma, ond y mae Duw yn y genadwri ; ac y mae yn sylwi a ydych yn ei derbyn. O faint aiff o'r cyfarfod hwn, gan wrando y pregethau, a'r cwbl drosodd wedi hyny ! Y mae hyn yn rhy fach ; derbyn yn ofer ydyw ; y mae eisieu derbyn y genadwri. Nid yw clywed am Iesu Grist ddim yn ddigon, na chlywed am ei angeu. Y mae eisieu ei dderbyn.

Mi debygwn i ei fod yn perthyn i'n gorchwyl ni fel cenhadon i fyned ar eich ol chwi ; nid i ddweyd fy mhregeth yn y fan hon, ond i fynu gwybod a ydych yn ei derbyn, i wybod pa sut y byddi yn y ffair, a thrwy yr wythnos. Y

mae arnaf ofn y bydd y cwbl drosodd gyda llawer ar ol i'r bregeth ddarfod. Ewch chwi dros eich pregeth, meddwch, a rhyngom ni â hi wedi hyny. Na; nid digon hyny. Y mae eisieu edrych pa sut y mae wedi hyny. Beth yw y canlyniad? Pa sut y bydd wedi hyny arnom yw y pwnc.

Yr ydych yn cofio yr hanes am Dafydd. Cafodd Gad ei ddanfon ato, a rhoddodd ddewisiad iddo o dri pheth: naill ai cael saith mlynedd o newyn, neu ffoi dri mis o flaen ei elynion, neu gael haint yn y wlad am dri diwrnod. A dyma Dafydd yn dywedyd, "Y mae yn gyfyng iawn arnaf fi: bid i mi syrthio yn awr yn llaw yr Arglwydd, canys aml yw ei drugareddau ef, ac na chwympwyf yn llaw dyn." Ond wedi i'r prophwyd ddarfod ei genadwri, dyma fe yn dweyd, Yn awr ymgynghora, ac edrych pa beth a atebaf i'r hwn a'm danfonodd i. Nis gallaf fyned yn ol heb atebiad. Ymgynghora, ac edrych pa beth a atebaf. Dyma finau wedi traethu fy nghenadwri wrthych chwithau. Yn awr, ymgynghored pob un beth yw yr ateb. A ydych yn derbyn y Mab? A wyt ti yn cwympo i mewn â'r telerau i dderbyn ei gymod? A ydych yn derbyn y genadwri, rhag eto y byddwch yn ffeindio y cwbl yn ofer, ac wedi gwrando heb dderbyn erioed?

*IV. Pwysigrwydd y genadwri yn ei hadeg:* "Mewn amser cymeradwy y'th wrandewais," &c.

Y mae y pwysigrwydd sydd yn perthyn iddi fel y mae yn dyfod oddiwrth Dduw, ac fel y mae mor bwysig gyda golwg ar y derbyniad ohoni yn dragwyddol yn ei ganlyniadau. Y mae y pethau yna yn rhoddi pwys anrhaethol ar eu hadeg. Y mae hi yn awr yn adeg gyfleus. Y mae yn gyfleus y prydnawn Sabbath hwn: "Wele yn awr yr amser cymeradwy; wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

Dyna un peth ag sydd yn gwneyd yr adeg yma yn adeg bwysig, adeg y gwrando ydyw: "Mewn amser cymeradwy

y'th wrandewais." Mae arnaf ofn y bydd rhai ohonoch yn gwrando pan na bydd Duw yn gwrando. Yr wyf yn cofio gweled rhai yn galw, a dim tebyg fod Duw yn gwrando. O! dymor anrhaethol bwysig! Y tymor y mae Duw yn gwrando! "Mewn amser cymeradwy y'th wrandewais." Ac nid gwrando arnat ti yn unig, ond gwrando ar ei Fab. "Yr wyf finau yn dy wrando," medd y Tad. "Ni bydd dy lafur yn ofer; mi wrandawaf finau." O dymor gwerthfawr! Onid wyt am achub yr adeg hon, adeg y mae dyoddefiadau Iesu Grist yn llefaru drosot ti! Y mae gwaed Iesu megis yn weddi drosot ti. Adeg y mae y Tad yn gwrando, a'r Mab yn gweddio, ydyw hi yn awr. A chymerwch yr adeg, bobl anwyl. O y fath werth i dy feddwl dan bwys euogrwydd i droi at Dduw, a chofio y gwrandawa efe. Iesu yn rhoddi ei ufudd-dod perffaith o dy blaid! Mi wrandawaf, medd y Tad, ac mi faddeuaf y cwbl. Caiff gyfiawnder yn Iesu Grist; a gwnaf ef yn gyfiawnder byth ynddo ef.

Y mae yr adeg yma yn bwysig hefyd am ei bod yn adeg o gynorthwyo: "Ac yn nydd iachawdwriaeth y'th gynorthwyais." O drugaredd y mae Duw yn rhoddi ei Ysbryd allan i gynorthwyo, heb fyned i achwyn ar dy galedwch, na dim. Y mae Duw yn cynorthwyo. Dyma le i'r genad obeithio a nesu yn mlaen—y mae Duw yn cynorthwyo; ac y mae yn tywallt ei Ysbryd i gynorthwyo. Beth yw yr argyhoeddiad sydd yn dy feddwl? Duw sydd yn cynorthwyo.

Gochelwch i hyn fyned heibio. O! y fath drueni dy weled eto yn ymyl marw, a'r tymor wedi darfod, a thragwyddoldeb yn dy gymeryd iddo ei hunan! Byddi yn teimlo wedi hyny dy fod yn gweddïo, a Duw heb wrando. Y tymor goreu wedi myned heibio, a dim tuedd yn dy

enaid di dy hunan at hyn, a dim cynorthwy i'w gael. Ond yn awr y mae cynorthwy i'w gael. Y mae yr adeg yna heb fyned heibio yn y cyfarfod hwn. Nis gallaf ddweyd y cai ef eto. Ond dyma y cwbl genyf fi heddyw. Y mae genyf fi hawl i'w ddweyd: Wele yn awr yr amser cymeradwy; wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth. Y mae y ffordd yn fer. Ydyw. Nis gwn pa mor fer. A gai di wrando yn hir yn y capel newydd. Nis gwn. Ond wele yn awr yr amser cymeradwy. Yr oedd un athraw ar ddosbarth o blant bychain unwaith yn ceisio dangos iddynt bethau mawrion y Beibl; a dyma fe yn dweyd wrthynt, Ewch adref, ac ewch ar eich gliniau i ofyn am fendith a bywyd trwy y pethau hyn; oblegid y mae y tymor yn fyr iawn. A dyma un ohonynt yn dweyd, Beth pe bawn i yn marw cyn myned adref! Digon gwir! Gallech chwi a finau farw felly. Nid oes dim i'w wneyd ynte ond gwaeddi yn awr. Y mae arnaf awydd meddwl am dduwioldeb pan y mae pob peth o'n plaid. Nis gwn sut y bydd hi. Yn awr, cyn myned adref. Cwyd dy feddwl yn awr at Dduw, a gofyn am gael derbyn y cymod yn y gwaed. Yr oeddwn yn darllen am hen wr wedi bod yn gwrando yn hir, ac eto yn dal yn gyndyn. Cymerwyd ef yn sâl gan afiechyd, a daeth y gweinidog ato i ymddiddan âg ef, a dweyd wrtho am yr iachawdwriaeth. Ond nid oedd dim a fynai efe â hi. Ni throai ei feddwl ati mewn un modd. Nid oedd dim yn effeithio arno. Ni allai roddi ei hunan iddi. Ond dyna y peth diweddaf a ddywedodd, "Gobeithio y daw fy adeg inau rywbryd," a'r dyn yn marw y pryd hyny. Y mae arnaf ofn fod llawer felly, yn dweyd, Gobeithio y caf finau iachawdwriaeth rywbryd! Gobeithio y daw hi! Dyna oedd rhai ohonoch yn ei ddweyd yn y ty o'r blaen y bûm i yn pregethu ynddo; yn oedi y pryd hwnw, ac yn yr un man heddyw!Ië, yn

wir, yn mhellach ; ac felly y bydd hi am flynyddau lawer. Ac felly dyma y gair diweddaf a ddywedaf : Yn awr yw yr amser cymeradwy. O gochelwch fyned i'r byd mawr wedi gwrthod y cymod ! Amen.

# PREGETH VIII.

## PREGETH ANGLADDOL Y PARCH. HENRY REES.

HEB. xiii. 7, 8: "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw: ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt. Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."

Y MAE yn ymddangos ar yr olwg gyntaf fod yr Apostol, yn y benod hon, yn taflu at eu gilydd nifer o gynghorion heb un cysylltiad rhyngddynt. Ond y mae dau fath o gysylltiad: un ydyw cysylltiad ymresymiadol; y llall ydyw un awgrymiadol. Nid oes yma ddim cysylltiad gwahanol ranau mewn ymresymiad, fel y cawn yn y rhanau o'r blaen o'r llythyr. Ond eto y mae yn debyg fod yma gysylltiad *awgrymiadol*, sef y naill gyngor yn awgrymu y llall, neu y nesaf; rhyw ail syniad yn un adnod yn arwain y meddwl at yr adnod arall. Y mae yr Apostol yn dechreu gyda brawdgarwch—y pwnc mawr oedd ganddo ef i son am dano, ac i alw sylw yr holl eglwysi yn mhob llythyr. Ond y mae hyny yn naturiol iawn yn arwain i roddi cyngor am letygarwch. Yna, y mae y meddwl o letygarwch yn *suggestio* y meddwl am berthynas deuluaidd, yr hon sydd yn seiliedig ar briodas; ac felly y mae yn rhoddi gair neu ddau am anrhydedd yr undeb priodasol. Yna y mae y berthynas deuluaidd yn arwain yn naturiol—yn awgrymu ymddiried yn yr Arglwydd—ymddiried ein hamgylchiadau ni a'n teuluoedd i'r Hwn a ddywedodd, "Ni'th roddaf di i fyny, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." Y mae y meddwl yna, drachefn, yn awgrymu i'r awdwr siamplau yr hen

flaenoriaid fel cymorth i ymddiried yn yr Arglwydd. Meddyliwch am y rhai aeth o'ch blaen: y fath rwystrau yr aethant hwy trwyddynt; mor ddyoddefgar, mor ffyddiog trwy bob gorthrymder. Meddyliwch am danynt. Ac yna, y mae y crybwylliad am eu blaenoriaid yn arwain yn naturiol at Fugail mawr y defaid, "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."

Cysylltiad fel yna sydd yma—y naill adnod yn *suggestio* y meddwl yn yr adnod o'i blaen. Y mae ychydig, o bosibl, o duedd eto i ofni rhoddi gormod o barch i ddynion da; ac y mae rhai wedi myned i eithaf fel yna. Y mae y Pabyddion yn rhoddi gormod o barch i'r seintiau. Ond nid oes berygl, ond i ni gymeryd y ddwy adnod gyda'u gilydd. Meddyliwch am eich blaenoriaid, a chofiwch mai Iesu Grist sydd yr un. Yn y cysylltiad yna y mae yn anmhosibl rhoddi parch gormodol i weision Iesu Grist. Y mae y Pabyddion yn codi y seintiau yn lle Crist, ac i guddio Crist o'r golwg. Nid ydym ni am wneyd hyny. Ond yr un pryd, y mae genym sail Ysgrythyrol awdurdodiad dwyfol i roddi parch i flaenoriaid—dynion blaenaf, dynion ar y blaen yn eglwys Crist. Ac yn wir, dyna ydyw hanes yr eglwys, hanes ei dynion hi. Erbyn i chwi feddwl, dyna ydyw hanes pob gwlad—hanes rhyw ychydig ddynion; a dyna hanes eglwys Crist. Y mae gwir yn hyny, fod yr oes yn effeithio ar ddynion yr oes; ond y mae mwy o wir yr ochr arall eto—fod rhai dynion yn gwneyd i fyny yr oes. Dyna ydyw hanes y Beibl rhan fwyaf; dyna ydyw y Beibl —hanes dynion. Nid oes dim yn fwy buddiol i bobl ieuainc i'w efrydu na hanes y Beibl, ac yn enwedig hanes yr eglwys: hanes dynion da; a dyna y cyngor sydd yma. Dechreuwn gyda'r gweision yn yr adnod gyntaf, Parhaed brawdgarwch. Yma, Meddyliwch am eich blaenoriaid. Cofiwch hwynt. Y mae y gair a gyfieithir "meddyliwch"

yma yn cael ei gyfieithu, y rhan amlaf, "cofiwch." Cofiwch eich blaenoriaid. Nid yw hyn yn afreidiol eto fel cyngor, yn enwedig i'r Cymry. Yr ydym ni, yn sicr, yn feius yn ein parodrwydd i anghofio y dynion a gododd yr Arglwydd. Yr ydym yn bechadurus yn hyn—dibris o'u coffadwriaeth. Gwnawn swn mawr am fis neu ddau, ac yna dyna y cwbl yn darfod; ac ni sonir fawr am danynt. Bydd yn anhawdd iawn cael dim o'u hanes; ac ni bydd neb a gymer y drafferth i ysgrifenu eu hanes; a phe buasid yn gwneyd eu hanes, bydd yn anhawdd iawn cael neb i brynu y llyfr. Y mae eisieu i ni feddwl am y geiriau hyn: Cofiwch eich blaenoriaid: eich blaenoriaid—dynion oedd ar y blaen—yn llywodraethu. Dyna y gair sydd ar ymyl y ddalen—eich llywodraethwyr. Y mae hyn i fod yn eglwys Iesu Grist—llywodraethu. Y mae llywodraeth i fod yma; ac y mae yn anmhosibl fod llywodraeth heb lywodraethwyr. Un o'r barnau trymaf all fod ar eglwys Dduw ydyw colli dynion yn meddu ysbryd llywodraeth—dynion ar y blaen. Fe sonir yn Esaiah li. 17, 18, am hyn fel y cwpan erchyll; ïe, gwaddod y cwpan erchyll. Dywedir am yr eglwys yn y cyfnod hwnw, "Deffro, deffro, cyfod Jerusalem, yr hon a yfaist o law yr Arglwydd gwpan ei lidiowgrwydd ef; yfaist waddod y cwpan erchyll; ïe, sugnaist ef." Beth oedd hyny? Dyna yr adnod nesaf: "Nid oes arweinydd iddi o'r holl feibion a esgorodd; ac nid oes a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd." Yr eglwys wedi ei gadael heb arweinydd—dyna farn! Nid oes iddi arweinydd o'r holl feibion a esgorodd; nid oes a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd. Nid yw y Beibl yn son am farn drymach na hon. O trugarhaed Duw wrthym! O'r ochr arall wedi hyny, un o'r bendithion gwerthfawrocaf a addewir i eglwys Dduw ydyw codi bugeiliaid. Y mae Duw yn addaw hyn: "Rhoddaf i chwi fugeiliaid wrth fodd fy nghalon." Y mae

yn bosibl i ni gael bugeiliaid heb fod wrth fodd calon Duw. Ond i un felly y mae Duw yn rhoddi iddo allu, a gwybodaeth, a deall.

Wel, meddyliwch am danynt! Ni byddai hyn o gyfarfod yn anfuddiol heno, pe na baem ond yn dyfod at ein gilydd i feddwl am Mr. Rees; i feddwl am y golled am dano; ac i fyned at Dduw yn y teimlad yma. Meddyliwch am y dynion oedd ar y blaen. Y mae dynion yn codi blaenoriaid heb fod Duw yn eu codi. Ond i lawr yr aiff y rhai hyny—i lawr rhwng eich dwylaw er pawb. Weithiau, fe fydd dynion yn erbyn, a Duw o blaid. Mae hyny yn bod: Duw yn mynu anrhydeddu ambell un, ac yn ei godi; a hyny yn groes i ddynion—i ddynion da—fel y cododd Dafydd frenin. Yr oedd hyd yn nod y prophwyd yn methu gweled. Bryd arall, y mae ambell un yn codi ei hunan heb fod Duw na dynion yn ei godi. Ond y mae esiamplau yn bod pan y bydd Duw a dynion yn codi dyn; Duw a dynion yn dweyd, Dyma y dyn y mae Duw yn rhoddi ei sêl dros ei ddewisiad. Dyn fel hyn oedd *ef!* Ni chlywais fod neb yn ei erbyn. Yr oedd pawb yn rhoddi lle iddo yn naturiol. Yr ydym yn bur sicr ei fod wrth fodd calon Duw. Meddyliwch am dano. Meddyliwch am dano yn *bersonol*, yn *neillduol;* nid yn gyffredinol, nid yn y lluaws. Feallai y goddefwch i ninau ddweyd gair am y gwr mawr hwn yn bersonol, ar ei ben ei hun. Meddyliwch am dano.

Yr oedd yn meddu rhyw gymhwysderau i flaenori. Yr oedd ei Dad Nefol wedi ei ddonio â phob cymhwysder angenrheidiol i fod ar y blaen. Yr oedd ynddo gydgyfarfyddiad o gymhwysderau. Yn hyn yr oedd yn ddiail. Gallai fod llawer yn ei oes yn meddu rhyw ragoriaeth lawn cymaint ag yntau, ac, feallai, yn fwy; ond anfynych iawn y gwelwyd neb yn meddu y fath gydgyfarfyddiad ag sydd yn gwneyd blaenor—cydgyfarfyddiad o ragoriaethau.

Dyna sydd yn gwneyd *commander*. Y mae yn filwr; ond y mae yn gofyn fod ynddo luaws o bethau i'w alluogi i gomandio. Fe fydd yn fuddiol enwi rhyw ychydig o'r rhagoriaethau oedd ynddo.

1af. Meddai sobrwydd duwiol, sobrwydd sanctaidd; ac ar yr un pryd, yr oedd yn llawn o addfwynder siriol. Yr oedd hyny yn amlwg ynddo. Yr oedd yn ddyn sobr, difrifol. Gobeithio na chollwn y rhai yma. Dyn o ddifrif oedd; dyn felly oedd yn mhob man. Dyn duwiol sobr, a duwiol iawn. Dyma sylfaen ei holl ddefnyddioldeb. Yr oedd yn weddïwr mawr; yr oedd yn byw yn agos at yr Arglwydd; ac eto yr oedd yn ddyn anwyl. Yr oedd pawb oedd yn adnabyddus ohono yn myned yn bur hysbys o hyn. Yr oedd yn un o'r dynion mwyaf siriol a welsoch chwi erioed. Nid dyn duwiol sur, ond siriol. Nid dyn duwiol sarug, ond un tebyg i'w Feistr, addfwyn. Yr oedd cydgyfarfyddiad fel yna yn ei gymeriad.

2il. Yr oedd cydgyfarfyddiad hefyd o'r hen a'r newydd yn hynod ynddo. Yr oedd yn hoff o'r hen awdwyr, ac yn ddarllenwr mawr o awdwyr newyddion ar yr un pryd. Yr oedd wedi ei fwydo âg ysbryd y Dr. Owen. Dyna a'i gwnaeth y peth oedd—yr Hen Buritaniaid. Ac eto, yr oedd yn ddyn gwreiddiol, ac yn ddyn yn ymgymeryd â phethau newydd. Un o'r rhai mwyaf hysbys a welais erioed oedd. Yr oedd yn fwy hysbys o lenyddiaeth yr oes na nemawr o ddynion. Yr oedd yn medru gwerthfawrogi awdwyr da yr oes hon, yn enwedig os byddai grym ynddynt. Nid oedd yn hoff o bob math o brydferthwch llenyddol; ond lle bynag y byddai grym a gallu, yr oedd rhywbeth ynddo ag oedd yn gydnaws yn y fan âg ef, yn ei alluogi i'w werthfawrogi, megis Arnold, Carlyle, a Taylor. Yr oedd yn darllen awdwyr newyddion, heb ddibrisio yr hen. Peidiwch a dibrisio yr hen awdwyr. Mae rhai na

fynant ond yr hen, a rhai ddim ond y newydd. Ond yr oedd lle yn Mr. Rees i'r hen a'r newydd.

3ydd. Yr oedd ynddo gyfuniad o feddwl a theimlad y tuhwnt i'r cyffredin. Yr oedd ganddo feddwl cryf, dysglaer; ac eto, yr oedd ganddo deimlad gwresog. Rhagorai yn mhob un o'r ddau; ac yn enwedig yn undeb y ddau â'u gilydd. Nid oes un amheuaeth na ddarfu ymddangosiad Mr. Rees greu cyfnod newydd yn mhregethu Cymru. Pan y daeth ar draws y wlad yr oedd yn ddyn na welwyd ei debyg yn dyfod o'r blaen. Meddai gyflawnder o feddyliau, a'r rhai hyny wedi eu cyfansoddi mor drefnus. Yr oedd hyny yn beth heb ei debyg. Dyma beth newydd, ddywedai pawb. Ond y peth oedd yn fwy newydd ydoedd y teimlad oedd yn rhedeg trwy y cwbl. Yr oedd yno esgyrn; ond nid esgyrn oeddynt fel fydd gan rai ohonom ni, rhai sychion heb ddim arnynt nac ynddynt. Yr oedd ganddo ef esgyrn yn llawn o fêr difeinyddiaeth iachus. Ac nid yn unig yr oedd yna fêr ynddynt, ond yr oedd arnynt gïau, a chnawd, a chroen; ac O mor brydferth! pob aelod yn ei le; a'r cwbl yn gwisgo prydferthwch. Ond mwy na hyny drachefn—yr oedd bywyd ynddynt. Yr oedd y peth byw yn mhob pregeth. Dyma oedd yn ei wneyd yn ddyn mawr. Meddyliwch am dano. Nid oes genym ond ei gofio ef bellach. Y dyn mawr yma, nid oes genym ond crybwyll rhyw ychydig o bethau am dano i chwi gael myfyrio am danynt eto. Y mae wedi myned erbyn hyn. Ni welwch mohono yma byth ychwaneg. Y dyn y buoch yn gwledda wrth wrando arno. Y bobl annuwiol sydd yma heno, y mae yma rai ohonoch wedi myned yn drech na phregethu Rees. Ni chewch gyfle i'w wrando byth mwy. Y mae wedi myned. Ni welwch ei wyneb mwy,—byth, byth mwy. A chwithau, saint Duw, ni welwch ei wyneb hardd ef mwy, na'i wên angylaidd.

Nid yw ddim i'w gael heno. Ac O! mor wâg ydyw ein cyfundeb ni! O! 'r fath wagder sydd hebddo! Nid oes genym ond ei gofio, a thristhau a wylo, wrth feddwl na chawn weled ei wynebpryd ef mwy. Er myned i Lerpwl i chwilio am dano, a thua'r Benarth, nid yw ddim yno! Ac O! yn y Gymanfa y bydd yn drist! Mae yn alarus meddwl am y Gymanfa eto. O! beth ddaw ohonom ni! A gawn ni fyned i'r llwch at yr Arglwydd gyda'n gilydd fel eglwys i ofyn i Dduw drugarhau wrthym. Nid oes genym, wedi'r cwbl, ddim ond gadael y mater yma, a throi at yr adnod nesaf, "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd."

Y mae yma rhyw gysylltiad. Mae yn debyg fod dau air yn yr adnod gyntaf o'r testyn yn arwain meddwl yr ysgrifenydd at y Person mawr sydd yn yr ail adnod, yr Arglwydd Iesu Grist. "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw." Gyda ei fod yn ysgrifenu y frawddeg yna, dyma ei feddwl yn rhedeg yn union at destyn mawr y weinidogaeth, *Gair Duw*. Pregethu Gair Duw yr oedd hwn. Hen Flaenoriaid, hen Bregethwyr: nid philosophyddwyr oeddynt. Nid "gwâg-dwyll" oedd ganddynt i'w bregethu, ond Gair Duw. A dyna sydd genym oll i'w bregethu: "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Ni raid i ni newid ein testyn. Mae yr hen bwnc yn ein pwlpudau eto—Iesu Grist. Nis gallwn ei bregethu yn debyg i rai welsom; ond eto ni raid i ni ddigaloni yn lân tra byddo genym Iesu Grist i'w gynyg i'r bobl—Iesu Grist! Dyma eu testyn hwy—Iesu Grist! Dyma ein testyn ninau! A thra y byddom yn pregethu Iesu Grist a'i gyfiawnder, Iesu Grist a'i waed, Iesu Grist yn unig Geidwad i'r penaf o bechaduriaid, fe achubir rhyw rai eto yn ein tref ni. Mae yr Ysbryd Glân wedi ymrwymo i lwyddo y weinidogaeth tra byddo'r Iesu yn cael ei ogon-

eddu. Cadwed Duw y testyn hwn yn ein pregethau. Gofalwch am hwn, bobl anwyl! Bu amser yn y deyrnas yma pan yr oedd dynion yn meddwl eu hunain yn ormod o ysgolheigion i bregethu Iesu Grist. Mae Blackstone yn dweyd ei fod yn myned oddiamgylch yn Llundain i bob eglwys i glywed pa fath bynciau a bregethent; a dyna ei dystiolaeth, ar ol gwrando pawb, na chlywodd yr un bregeth o fewn y dref fawr, yn Llundain, na allasai Cicero, neu ryw bagan felly, ei thraddodi. Nid oeddynt yn pregethu dim ond moesoldeb. Ond yr oeddynt trwy hyny yn myned yn fwy anfoesol. Nid wyf heb ofni nad oes berygl i ryw beth fel hyn gymeryd lle yn ein dyddiau ninau. Mae rhyw arwyddion fel pe byddai y wlad braidd eisieu rhywbeth newydd yn lle Iesu Grist—rhyw ysfa am philosophi, a rhyw bynciau dadleugar, yn lle hen Drefn Gras. Cadwed Duw ni rhag hyny. Mae llawer o bregethau yn cael eu cyhoeddi ag sydd yn llygru, dan y ffug-esgus o ganmol cariad Duw, a'i Ysbryd Tadol Ef; a'u hamcan a'u tuedd i guddio Iesu Grist o'r golwg.

Dyma y pwnc—Iesu Grist. Dyma destyn y weinidogaeth. Y rhai a draethasant i chwi air Duw ar Green y Bala—dyma oedd eu testyn. Beth ddymchwelodd gaerau Jericho yn Nghymru? Iesu Grist. Beth a barai i ddynion orfoleddu yn yr hen bwnc—Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio. Dyma ein testyn ninau. Pe b'ai angel o'r nefoedd, â'i ddoniau angylaidd, yn pregethu Iesu arall, ni achubid un enaid trwyddo. Ond os cawn ni y fraint o ddal fyny Iesu Grist o flaen y byd, fe dyna ryw filoedd eto ato ei hunan. Nid ynom ni, wedi'r cwbl, y mae y grym, ond yn ein testyn. A ydym yn foddlawn i fyned o'r golwg er mwyn i Iesu Grist ddyfod i'r amlwg? O amlyger Ef! "Iesu Grist, ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Mae yma air arall hefyd oedd yn suggestio y pwnc hwn i'r

ysgrifenydd, " Ffydd y rhai dilynwch." Dilynwch eu ffydd. Ni elwir arnom i ddilyn eu doniau, ond eu ffydd. " Gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." A chyda ei fod wedi dweyd y gair yna, dyma y meddwl yn union fel trydaniaeth yn rhedeg i'w galon ef—Iesu Grist. Wrth son am ffydd yr hen dduwiolion, yr oedd ei feddwl yn myned at wrthddrych ffydd ; oherwydd dyma oedd eu grym, ffydd yn Nghrist, ac y mae yr un Person yn wrthddrych ffydd i ninau eto. Iesu Grist oedd ganddynt hwy i bwyso arno ddoe ; y mae Iesu Grist i ninau i roddi ein pwys arno heddyw. Ac fe fydd Iesu Grist i'r eglwys yn dragywydd. Iesu Grist a'u cadwodd hwy ; y mae yn abl hefyd i gadw y rhai sydd yn eu lle heddyw. Y mae Iesu Grist gyda ni eto. A ydych yn credu hyn, gyfeillion ? Yr ydwyf fi yn ei gredu mor sicr a dim a gredais erioed, oherwydd Efe a ddywedodd, Yr wyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd. Fe gadwodd Rees ; y mae yn abl i gadw rhyw fachgen eto, yn rhyw le ; nid yw waeth pa le. Disgwyliwn ninau wrtho. O fe fyddai yn rhyw gryfder i gredu fod Iesu Grist yma gyda ni. Y mae yma yn ein cyfarfodydd. Efe sydd yn anfon rhai i fugeilio. Y mae wedi derbyn rhoddion i ddynion. A pheidiwch a meddwl ei fod wedi dihysbyddu y cwbl. Nid yw Mab Duw a Phen yr Eglwys wedi myned yn *fankrupt* eto. Y mae pethau yn edrych i'n golwg ni yn dlawd iawn. Cawsom golled anadferadwy i olwg dynion. Ond y mae Iesu Grist mor lawn ag erioed. Fe dderbyniodd roddion, a'r rhoddion penaf yw rhoddi rhai yn fugeiliaid, a rhai yn athrawon, i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist. Disgwyliwn wrth Iesu Grist. Os sychodd yr aber, ni sychodd y môr ddim er hyny. Awn heibio i bawb at Iesu Grist. Iesu Grist a'u cynhaliodd hwy. Y mae Ef yr un i'n cynal ninau. Iesu Grist gynhaliodd ein hen gyfaill ; ac fe'i

cynhaliodd yn ddisigl. Nid ydym ni yn diolch haner digon am y cynal yma. Fe'i cynhaliodd hyd y diwedd. "Gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt." O dyma ddyn wedi ei diweddu hi yn dangnefeddus. Fe gafodd ddiwedd da. Iesu Grist oedd gydag ef yn y diwedd. Yr oedd arno ofn marw. Yr oedd drwy ei holl fywyd dan gaethiwed. Yr oedd ganddo ryw syniadau am ofnadwy-aeth marw y tu hwnt i'r cyffredin. Ond pan ddaeth, cynhaliodd Iesu Grist ef. Cuddiodd ef fel mai prin y gwybu ei fod yn marw. Aeth trwodd heb wybod. Aeth heibio ystormydd y Cape Horn heb wybod, a deffrôdd yn nghanol y Great Pacific lle na ddaw ystorm byth mwy. Pa sut y mae yn debyg o fod gyda chwi tua'r diwedd yma? A ydych yn dilyn ymarweddiad sydd yn debyg o droi yn dda yn y diwedd? Fechgyn, beth fydd diwedd y dull yr ydych yn fyw? Ond diwedd ymarweddiad hwn diwedd da, tangnefeddus oedd. Y mae Iesu Grist yn abl i'n cynal ninau. Ac nid oes gan lawer ohonom ddim ond parotoi erbyn y diwedd o'n blaenau. Ond y mae Iesu Grist yr un ddoe a heddyw. Fe ofalodd am ei blant. O, bu yn dirion wrthynt! O, y mae yr un i ninau! Ymddiriedwn ynddo.

"Ac yn dragywydd."—Y mae yr un yn y ddau fyd. Y mae yr un yn y ddau a'u gilydd—"yn dragywydd." Tragwyddoldeb, fy ngwrandawyr! Tragwyddoldeb! Dyna fyd dieithr! O, y byd mawr! Byddwn ynddo yn fuan iawn. Ni wyddom ddim am dano. Tragwyddoldeb, tragwyddoldeb! Y mae yn fyd dieithr. Yr ydym yn colli ein hunain rywfodd mewn gwagle wrth feddwl am dano. Yr ydym yn dyrysu, yn methu cael dim i ymaflyd ynddo nes y daw ein meddwl at Iesu Grist. Iesu Grist yn y Beibl; Iesu Grist yn y drefn i ni gredu ynddo ar y ddaear; Efe hefyd sydd yn y byd tragwyddol. Y mae yn gwneyd y ddau fyd yn un â'u gilydd. Dyma gymaint o

foddlonrwydd ac o ddiddanwch sicr, ac o oleu sydd genym. Y mae Iesu Grist yno. Y mae pob peth arall yn ddieithr. Y mae ein cyfeillion sydd yno yn myned yn ddieithr i ni. Ni fedrwn ddychmygu y fath agwedd sydd arnynt. Rees erbyn hyn, nid yw yr un ag oedd pan yr oedd yma. Yn y byd tragwyddol y mae wedi newid. Y mae wedi myned trwy ryw gyfnewidiadau rhyfedd yn y marw yma, fel nas gellir dweyd ei fod yr un ag oedd pan yr oedd yma. Ond y mae un heb newid. Duw yn y cnawd! Mab y Dyn! Mab Duw yr un. Yr ydym ninau yn ymddiried ynddo yn y byd hwn; ac fe fydd yntau yn newydd a hen ddigyfnewid i dragwyddoldeb. Wel, mynwch ei adnabod. Mynwch ei adnabod, a rhoddwch eich hunain iddo yn awr. Yma y mae ymddiried ynddo. Ymofynwn am Iesu Grist ein hunain. Nid yw ddim yn ddigon eich bod yn yr un cyfundeb a Mr Rees, ac yn blant i rieni duwiol. Rhaid adnabod Iesu Grist. Rhaid i chwi adael pawb. Ond y mae Iesu Grist yr un. Mynwch ei adnabod. Peidiwch a gorphwys ar ddim y tu yma i Hwn. Dyma y cwbl ar unwaith am dragwyddoldeb yn y Person bendigedig yma. Dyma destyn galar,—ein blaenoriaid wedi colli. Ond y mae Iesu Grist yn aros. O, gobeithio y bydd y golled yn peri i ni feddwl am Iesu Grist, yr Hwn y bu efe yn ei bregethu mor hir. Cofiwch ei ddywediadau—mor dyner, mor wasgedig y byddai yn galw arnoch at y Ceidwad. Un o'r pregethau olaf a bregethodd yn y fan hon, dyna oedd ei hamcan—dangos fod yn rhaid i chwi fyned i uffern neu at Grist. Cofiwch ei bregethau a'i gynghorion; a chofiwch roddi ufudd-dod iddynt, a rhoddi lle iddynt yn eich meddyliau i'ch arwain i gyd at Iesu Grist i gael bywyd tragwyddol trwyddo. Amen.

## PREGETH IX.

MATTH. xi. 29: "Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau."

Y MAE yn ymddangos yn beth tra rhyfedd i'r ystyriol, wrth ddarllen yr Ysgrythyrau sanctaidd, fod gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu mor aflwyddianus; ac yr oedd y pregethwr mwyaf a fu yn y byd, ac yn gwneyd gweithredoedd na wnaeth neb eu tebyg, a dwyfoldeb yn dysgleirio o'i amgylch lle y byddai. Eto, y mae yn beth syn meddwl fod y pregethwr hwn i raddau mawr iawn yn un aflwyddianus; ac yn fwyaf aflwyddianus yn y dinasoedd yn y rhai y gwnaed y rhan fwyaf o'i weithredoedd nerthol. Lle y gwnaethpwyd y rhan fwyaf, mae yn ymddangos mai yno y llwyddai leiaf.

Yn yr adnodau o flaen y testyn, yr ydym yn cael enwau Chorazin, Bethsaida, a Chapernaum. Y mae yn ddiameu fod Iesu Grist yn teimlo fel dyn yn yr olwg ar hyn; a'r unig gysur ganddo oedd troi at ei Dad nefol, a chydnabod Penarglwyddiaeth ddwyfol: "Ië, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd i ti." Yr oedd Iesu Grist yn tynu cysur iddo ei hun yn yr olwg ar Benarglwyddiaeth. Ac nid yn unig yr oedd hyn yn gynhaliaeth i feddwl y Gwaredwr yn ei Berson ei hun; ond y mae yn ymddangos ei fod yn edrych ar Benarglwyddiaeth Duw fel sail, ac fel rheswm, i roddi calondid i bechadur i ddyfod ato. Byddwn ni yn fynych yn methu cysoni Penarglwyddiaeth ddwyfol â galwedigaeth gyffredinol yr Efengyl. Feallai na ddaw neb

i ben a'u cysoni i foddlonrwydd yn mhob peth. Ond y mae yn amlwg nad oes dim yn anghyson ynddynt; oherwydd newydd iddo ddweyd y geiriau "Pob peth a roddwyd i mi gan fy Nhad; ac nid edwyn neb y Tad ond y Mab, a'r hwn yr ewyllysio y Mab ei ddatguddio iddo," y mae yn troi at y lluaws, ac yn cyhoeddi Efengyl i bawb: "Deuwch ataf fi bawb a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Oni b'ai fod trefn yr Efengyl yn drefn yn cyfodi o Benarglwyddiaeth Duw, ni buasai yn drefn yn cyfateb i angen pechadur. Ni buasai genym sail i alw pawb at Grist. Am fod Duw yn achub y neb a fyno, a'r cwbl o ras, y mae genym sail i alw ar bawb i ddyfod at Grist: "Deuwch ataf fi bawb."

Y mae yma bob math o ddyn yn y desgrifiad yma, y blinderog a'r llwythog. Diau ei fod yn cymeryd i mewn y rhai oedd dan flinder a beichiau trymion y gyfraith seremonïol. Ond eto, y mae geiriau y Beibl yma yn eiriau ëang iawn. Y maent yn perthyn i bob oes a gwlad. Y maent yn cyraedd pawb sydd yma heddyw. Pwy bynag sydd yn flinderog ac yn llwythog, y mae galwad ar hwnw i ddyfod at Iesu Grist. Gallai fod y gair "blinderog" i'w gymeryd yn weithredol, y gair "llwythog" yn oddefol. Y mae dyn mewn blinder wrth geisio gweithio yn flinderus; ac heblaw hyny, dyna rym o boenau a chystuddiau. Ond y mae rhwng y cwbl alwad ar bawb. Cymerwch fy iau arnoch.

*I. Y mae pawb a ddaw at Grist yn ymostwng dan ei iau.* Dyna y geiriau sydd o'r blaen, "Deuwch ataf fi;" a dyna y geiriau sydd yn dilyn, "Cymerwch fy iau arnoch." Y mae yn galw ar bawb ato; ond galw ar bawb y mae i fyned dan iau. Pawb sydd yn meddwl cael eu hachub trwy Grist, rhaid iddynt gymeryd iau Crist arnynt.

Wrth yr iau y mae i ni ddeall llywodraeth Crist. Rhaid

iddynt ymostwng i gymeryd eu llywodraethu ganddo. Y mae y gair "iau" yn arwyddo pethau ereill, megis cystuddiau, profedigaethau, caethiwed. Ond iau Crist ydyw llywodraeth Crist. Rhaid i bawb sydd yn dyfod at Grist ddyfod yn ddeiliaid o'i gyfreithiau, i ymostwng iddynt, ei drefniadau, a'i ordinhadau, a chymeryd eu harwain ganddo.

I. Y mae yma ymostyngiad meddwl. Dyna lle y mae hi yn dechreu. Rhaid i'r meddwl ymostwng i lywodraeth y Brenin Iesu. Y mae ein meddyliau ni o dan ei lywodraeth. Y mae Crist yn gofyn i chwi ymostwng, iddo ef lywodraethu eich meddyliau. Dyna paham y mae cadwedigaeth o ffydd; oherwydd y mae ffydd yn cynwys ymostyngiad. Y peth cyntaf yn y drefn ydyw ymostwng a rhoddi ufudd-dod i'r Iesu. Y mae yn caethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist. Gelwir ef yn ufudd-dod ffydd yn y Beibl. Nid oes ffydd gadwedigol nad yw yn cynyrchu ufudd-dod. Y mae pob dyn sydd yn dyfod at Grist yn iawn yn rhoddi ei hun yn was i Iesu Grist. Dyna ydyw rhyddid yr Efengyl, rhwymau i Grist. Dyma lle y mae gwir ryddid—yn ngwasanaeth yr Arglwydd Iesu Grist. A wyddoch chwi am hyny, gyfeillion? Felly y mae yr Apostol yn desgrifio yn y Llythyr at y Rhufeiniaid. Y rhai a waredir o gaethiwed pechod, y maent yn dyfod yn weision. Nid oes rhyddid heb hyny. Oni wyddoch chwi, mai i bwy bynag yr ydych yn rhoddi eich hunain yn weision i ufuddhau iddo, eich bod yn weision i'r hwn yr ydych yn ufuddhau iddo: pa un bynag ai i bechod, i farwolaeth, ynte i ufudd-dod i gyfiawnder? Wedi eich rhyddhau oddiwrth bechod fe a'ch gwnaethpwyd yn weision i gyfiawnder. Y mae Iesu Grist yn galw arnoch i ymostwng. "Gan fwrw dychymygion i lawr, a phob uchder a'r sydd yn ymgodi yn erbyn gwybodaeth Duw, a chan gaethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist." Pan y mae Crist yn achub, y

mae yn concro, yn darostwng y meddwl balch, rhy falch i'w gymeryd yn Arglwydd. Nid oes dim rhyngoch a bod yn gadwedig heno, ond eich bod yn rhy falch. Y mae grym yr Efengyl yn bwrw dychymygion i lawr, ac yn caethiwo pob meddwl i ufudd-dod Crist. Dyna un peth sydd yn yr iau, yw ymostyngiad meddwl i'r Arglwydd Iesu.

## PREGETH X.

1 Tim. iv. 8: "Canys i ychydig y mae ymarfer corphorol yn fuddiol; eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd y sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd."

Y MAE y geiriau hyn yn cael eu llefaru mewn cyferbyniad i'r hyn a ddywedodd o'r blaen am yr hyn sydd i ymddangos yn yr amseroedd diweddaf. Y mae, yn y lle cyntaf, yn dangos athrawiaeth gwir grefydd, ac yn eu hanog i beidio credu gau athrawiaethau. Y mae o bwys pa beth i'w gredu; ac un o arwyddion mwyaf torcalonus yr oes hon ydyw difaterwch am wirionedd mewn credo, ac i chwilio am wirionedd mewn athrawiaeth. Dyna un o arwyddion yr amseroedd diweddaf. Dynion yn rhoddi coel i ysbrydion cyfeiliornus, ac athrawiaethau cythreuliaid. Y mae yn anmhosibl esbonio llawer o gyfeiliornadau ond ar y dybiaeth fod cythreuliaid a rhyw allu ganddynt arnynt. "Yn dywedyd celwydd mewn rhagrith," sef y gau athrawon; nid y rhai sydd yn cael eu hudo, ond y rhai sydd yn hudo. Y maent yn twyllo trwy ddywedyd celwydd mewn rhagrith. Y mae eu cydwybodau eu hunain wedi eu serio â haiarn poeth. (Y mae yn anhawdd iawn clywed.) Y mae yn anmhosibl bod yn rhy fanwl gyda phob pechod, y pechodau lleiaf, pob rhith drygioni, pob ymddangosiad o ddrwg. Ond y mae hyn i'w weled yn amlwg iawn yn y byd—dynion yn colli golwg ar egwyddorion mawrion crefydd a moesoldeb, a myned yn orfanwl gyda phethau dibwys. Gwneyd pethau bychain yn bwysig yn eu hathrawiaeth, a byw mewn pechod; rhoddi rhyw rith

o sancteiddrwydd yn lle y gwir. Wel, yn erbyn y pethau yna y mae yr apostol yn rhybuddio Timotheus. Y mae yr holl ymarferiadau yna yn gynwysedig yn yr ymadrodd "ymarferiadau corphorol."

I ychydig y mae y pethau yna yn fuddiol. Feallai fod y gair "i ychydig" yn cynwys i *ddim*: nid yw yn fuddiol o gwbl. Ond duwioldeb sydd fuddiol—duwioldeb iawn. Y mae hwn yn fuddiol, ond ei chael hi yn iawn—y peth mewn gwirionedd. Peidiwch a chamsynied, fel pe dywedai, am fod y pethau yna yn anfuddiol, fod y pethau ereill yma hefyd. Y mae duwioldeb yn fuddiol. Rhagrith sydd yn anfuddiol. Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth. Ar y gair yma yr arhoswn.

*Duwioldeb.* Y mae yn air mawr iawn. Pa beth yw duwioldeb, a pha beth yw bod yn dduwiol? Dyma sydd yn ein rhanu ni yn hanfodol, yn dragwyddol. Y mae dau air arall ag y bydd yn dda edrych arnynt mewn cysylltiad â duwioldeb, sef moesoldeb a chrefydd. Pa beth yw y gwahaniaeth rhwng moesoldeb a duwioldeb? A pha beth yw y gwahaniaeth rhwng crefydd a duwioldeb? Y maent yn perthyn i'w gilydd, feallai. Mor agos a hyn; fel hyn, nid oes neb yn dduwiol nad yw yn ddyn moesol; na neb yn dduwiol nad yw yn ddyn crefyddol. Ond eto, nid ydynt yr un peth. Nid yw moesoldeb ddim yn grefydd, ac nid yw pob crefyddwr yn dduwiol. Y mae yn hawdd iawn cymeryd moesoldeb yn lle duwioldeb, a chrefydd yn lle duwioldeb.

Beth ydyw y gwahaniaeth rhwng moesoldeb a duwioldeb? Nid wyf yn gwybod fod y gair "moesoldeb" i'w gael yn y Beibl o gwbl. Y mae y gair "moesol;" ond eto, y mae yn air eang iawn. Byddwn yn siarad am y ddeddf foesol. Pa beth sydd i ni i'w ddeall wrth hyny? Y ddeddf foesol! Beth yw y gwahaniaeth rhwng deddf foesol, a deddf

seremonïol, a deddf wladol? Y mae rhywbeth mawr mewn moesoldeb. Y mae moesoldeb yn dragwyddol. Y mae yn beth tragwyddol anghyfnewidiol. Dyna yw y ddeddf foesol. Deddf foesol ydyw deddf Duw ei hunan. Deddf sydd yn arddangos natur Duw i ni. Y mae yn anmhosibl ei newid. Gellid meddwl y byddai y dyn a berffaith gydymffurfiai â'r ddeddf foesol—y byddai hwnw yn dduwiol. Y ddeddf yn egwyddor yn ei galon. Byddai hwnw yn ddyn duwiol; ac eto, nid yw moesoldeb ddim yn ddigon. Wel, paham? Beth sydd mewn duwioldeb yn wahanol i foesoldeb? Nis gwn a oes gwahaniaeth yn yr hyn y mae y ddeddf foesol yn ei ofyn. Ond nis gall y dyn mo'i chadw; ac am hyny ni ddaw byth yn gymeradwy gan Dduw. Rhywbeth rhwng y dyn a'r ddeddf ydyw moesoldeb. Nis gall y ddeddf mo'n gwneyd yn dduwiol. Y mae yn rhaid cael rhywbeth o newydd i'n gwneyd y peth y mae y ddeddf yn ei ofyn.

Crefydd wedi hyny. Y mae yn bosibl i ddyn fod yn grefyddol heb fod yn dduwiol. Y mae yn bosibl fod dyn yn grefyddol, neu yn Gristion, heb hyn—sef, addoli Duw. Dyna ydyw crefydd, Addoliad. Dyna ystyr y gair "crefydd." Moesoldeb ydyw byw yn iawn. Crefydd ydyw addoli Duw a gwasanaethu yr Arglwydd Iesu Grist, a gwneuthur y cyflawniadau, darllen a gweddïo. Dyna ystyr y gair "crefydd." Dyna ydyw dyn crefyddol, dyn sydd yn arfer gofyn a gweddïo. Wel, y mae rhyw fath o weddïo heb ofyn. Y mae yn bosibl gweddïo llawer iawn heb ofyn, heb fod yn dduwiol. Dyna un o'r cwynion mawr gan Iesu Grist yn erbyn y Phariseaid. Yr oeddynt yn gweddïo llawer iawn, yn hir weddïo, ac eto heb fod yn gweddïo. Yr oeddynt yn fanwl iawn gyda'u cyflawniadau; ac eto nid oedd eu duwioldeb ddim.

Beth yw duwioldeb, eto? Wel, y mae yn debyg mai

ystyr y gair a gyfieithir "duwioldeb" ydyw parchedigaeth —gwir barchedigaeth i Dduw. Dyna ei ystyr. Y mae dyn, pan y mae ar dir moesol, yn ceisio byw yn gywir tuagat Dduw. Ond y mae ein Duw i ni wedi ei golli. Y mae dynion gyda chrefydd yn cymeryd arnynt addoli yn hawdd; ond dynion sydd yn gwneyd y tro iddynt. Bod yn barchus gan ddynion; cael eu gweled gan ddynion—dyna yw crefydd rhai. Dyna y Phariseaid, dynion crefyddol iawn oeddynt, ond heb dduwioldeb. Gweddïo i gael eu gweled gan ddynion yr oeddynt. Dyna y gwahaniaeth ar unwaith rhwng crefydd a duwioldeb. Y mae crefydd heb dduwioldeb. Y cyflawniadau mwyaf neillduol; ac eto, y cwbl er mwyn eu gweled gan ddynion. Ond y mae duwioldeb yn ein dysgu yn y pethau cyffredin, y rhai sydd y tuallan i gylch crefydd, i wneyd y cwbl i'r Arglwydd. Dyn crefyddol heb fod yn dduwiol, y mae yn gweddïo heb Dduw yn y golwg. Dyn duwiol, y mae efe gyda phethau cyffredin y byd a'r bywyd hwn yn gwasanaethu yr Arglwydd. Dyna y gwahaniaeth. Y mae y gair hwnw yn dangos y gwahaniaeth am byth. Yr annuwiol, "Nid yw Duw yn ei holl feddyliau ef." Beth yw bod yn annuwiol? Bod yn ddyn heb Dduw yn ei feddyliau. Gyda'r cyflawniadau crefyddol, nid yw Duw ddim yno—ddim yn ei holl feddyliau ef.

Wel, dyna ydyw duwioldeb—Duw wedi dyfod i'r meddwl, i'r enaid. Duw yn y meddwl; byw bellach bob dydd a Duw yn llenwi eu meddyliau. Dyna ydyw y dyn duwiol —y mae rhyw anian, ofn duwiol, parchedig ofn, parchedigaeth i Dduw ynddo. O, fy nghyfeillion, y mae Duw yn un i'w barchu. Cofiwch hyn, Y Duw mawr ofnadwy! Y mae yn anmhosibl cael golwg ar Dduw heb ei barchu. Gallwch wneyd rhyw rith gydag eilun o dduw i chwi eich hunain, a siarad am dano, heb ddim parch iddo. Ond pan

y daw y Duw byw i olwg y meddwl, y mae yna ryw barchedigaeth. Y mae yn un ofnadwy, ac i'w arswydo yn ei holl amgylchoedd. Ond y mae ar y dyn duwiol ofn ei ddigio, ofn ei anfoddloni, ofn gwneyd dim a fydd yn peri i'w Dad Nefol wgu arno. Pa le bynag y mae duwioldeb, yno hefyd y mae yr egwyddor fawr yma. Y mae hyn yn cadw moesoldeb i'r byd i gyd. Y mae yn y dyn hwn awydd i gydymffurfio â'r ddeddf. Y mae ganddo grefydd, a chrefydd bur. Dyma sydd yn gwneyd moesoldeb yn wir—Duw o flaen y meddwl. Dyma sydd yn gwneyd crefydd yn ddiragrith—y dyn yn addoli, a Duw yn y golwg. Ac y mae duwioldeb yn uno crefydd a moesoldeb. Y maent yn cael eu hysgaru gan ddynion annuwiol. Cewch ddynion moesol heb grefydd, a dynion crefyddol heb foes-oldeb. Ewch i'r Cyfandir, cewch hwy yn gweddïo ar Fair a'r Seintiau, ac yn fanwl gyda'r cyflawniadau ; ac ar yr un pryd, gwnant y gweithredoedd mwyaf anfoesol y cyfle cyntaf. Ond y mae duwioldeb yn uno y ddau. Fel y mae y gair hwnw yn Iago : " Crefydd bur a dihalogedig gerbron Duw a'r Tad, yw hyn : Ymweled â'r amddifaid a'r gwragedd gweddwon yn eu hadfyd, a'i gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Dyma ydyw crefydd wedi cael duw-ioldeb. Yr oedd crefydd yno o'r blaen. Ond, " crefydd bur a dihalogedig gerbron Duw !" Duw yn y golwg. Crefydd at Dduw, nid at ddynion. Crefydd bur a dihalog-edig gerbron Duw a'r Tad ! Moesoldeb ! Dyna ydyw crefydd bur. Dyna ydyw bod yn ddyn cymwynasgar, y *benevolence* y mae dynion yn ysgrifenu arno. " Ei gadw ei hun yn ddifrycheulyd oddiwrth y byd." Gweddïo sydd yn eu huno—duwioldeb a moesoldeb. Ac nid oes duwioldeb heb yr undeb yma. Lle bynag y mae dyn duwiol, y mae yn rhaid iddo fod yn foesol, a rhaid iddo fod yn grefyddol. Y mae golwg ar Dduw, a pharchedigaeth i Dduw, yn ein

dysgu i iawn ymddwyn tuagat ddynion, ac i fod yn fanwl gydag ordinhadau crefydd. Wel, pa le bynag y mae parchedigaeth i Dduw, yr hyn yw duwioldeb, y mae hefyd le i lawer o bethau ereill.

Y mae lle i Air Duw. Cofiwch hyn. Nid oes modd parchu Duw yn dduwiol heb barchu ei Air. Y mae parchedigaeth arbenig i'w orchymynion hefyd ; ac i'w ddydd sanctaidd ; ac i'w bobl. Nid oes modd parchu Duw heb barchu ei bobl. Y mae Pedr yn dweyd, " A hyn yma hefyd, gan roddi cwbl ddiwydrwydd, chwanegwch at eich ffydd rinwedd, ac at rinwedd wybodaeth, ac at wybodaeth gymedroldeb, ac at gymedroldeb amynedd, ac at amynedd dduwioldeb, ac at dduwioldeb," &c. Y mae y pethau yna yn myned o flaen duwioldeb. Hyny ydyw, y mae duwioldeb o fewn y rhai yna i gyd. Y mae yn bosibl cael y pethau cyntaf heb y rhai olaf. Y mae llawer un yn wybodus, yn gymedrol, heb fod yn dduwiol ; yn amyneddgar heb fod yn dduwiol. Ond ychwanegwch at y pethau yna dduwioldeb. " Ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol ; ac at garedigrwydd brawdol, gariad." Nid oes neb yn caru y brodyr heb fod yn dduwiol. Y mae yn bosibl meddu y lleill heb fod yn dduwiol. Y rhinwedd, y wybodaeth, yr amynedd, y mae ambell bagan wedi meddu y rhai yna. Mynwch chwithau hwy. Ond peidiwch aros ynddynt. Mynwch dduwioldeb o fewn y cwbl. Ac ar ol cael duwioldeb, dyma y peth nesaf, caredigrwydd brawdol. Ar ol cael parchedigaeth i Dduw yn y galon, y *step* nesaf fydd caru y Beibl, a charu plant Duw ; ac y mae hyny yn dybenu mewn cariad. Cariad at bechaduriaid, at ddynion pa le bynag y byddant. Dyna y peth tebycaf i Dduw ei hunan o bob peth mewn bod. Y mae yn uwch na charu y brodyr. Y mae hyny yn arwain at, ac yn dybenu mewn cariad at bawb, hyd y nod at ein gelynion. Y mae y fath

beth a hyn yn bod. Y *step* gyntaf ar ol dyfod yn dduwiol ydyw caru y brodyr; ond y peth olaf mewn duwioldeb ydyw caru ein gelynion; maddeu i'r rhai sydd yn gwneyd drwg i ni; caru eneidiau ein cyd-ddynion. Y mae peth fel hyn. Y mae parchedigaeth i Dduw yn ein dysgu i barchu ei blant, a dynoliaeth yn gyffredinol.

Dyna y cwestiwn, A ydym yn dduwiol? Pa faint ohonom sydd yn wir dduwiol? Ac os ydym yn dduwiol, a ydym yn cynyddu rhywfaint mewn duwioldeb? A ydym yn cynyddu mewn crefyddolrwydd? Mewn byw yn agos at Dduw? Mewn rhodio gyda Duw mewn duwiol fyfyrdodau? Peth i fyned ar gynydd ydyw duwioldeb; a'r arwydd sicraf ein bod yn dduwiol ydyw ein bod yn cynyddu mewn duwioldeb yn wastadol. Amen.

## PREGETH XI.

---

SALM cxxvii. 1, 2: "Os yr Arglwydd nid adeilada y tŷ, ofer y llafuria ei adeiladwyr wrtho; os yr Arglwydd ni cheidw y ddinas, ofer y gwylia y ceidwad. Ofer i chwi fore-godi, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau: felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd."

Y MAE cryn anhawsder i benderfynu cysylltiad y rhan olaf o'r ail adnod â'r gweddill o'r geiriau. Pa beth yw ystyr y gair "felly" yn y lle hwn? Y mae rhai yn newid y cyfieithiad, ac yn darllen "canys" yn lle "felly," ac yn golygu fod y rhan olaf yn rheswm dros y rhan gyntaf: Ofer i chwi fore-godi, myned yn hwyr i gysgu, bwyta bara gofidiau; ni raid i chwi ddim; canys y mae efe yn rhoddi hûn i'w anwylyd. Ond y mae yn lled debyg na oddef y geiriau eu cyfieithu felly. Y cyfieithiad goreu ydyw, "Felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd." Y mae rhai yn newid ychydig yn niwedd yr adnod: Felly y rhydd efe *gyd*-hûn i'w anwylyd. Sef, na raid i chwi fore godi, a myned yn hwyr i gysgu; felly y mae efe yn llawn cystal i'w anwylyd, er hyny. Ond y mae lle cryf i feddwl fod y cyfieithiad llawn mor gywir fel y mae; ac fe ddaw yr ystyr i'r golwg wrth gymeryd yr holl adnodau gyda'u gilydd. Os yr Arglwydd nid adeilada y ty, ofer y llafuria, &c., ofer pob llafur a thrafferth heb fendith yr Arglwydd. Ofer i chwi fore godi heb ei fendith ef. Nid yw ddim yn dweyd nad yw yn angenrheidiol gwneyd hyny weithiau; ond ofer y cwbl heb yr Arglwydd. *Felly*, yn y teimlad yna, y gwrandawa yr Arglwydd; o'r gwirionedd yna y mae ei anwylyd ef yn cysgu, yn huno. Felly, ar y tir

yna; mewn disgwyliad ar Dduw wrth fyw ar y ddaear yma, mewn ymddiried yn ngofal yr Hollalluog. Felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd. Y mae yn rhoddi tawelwch gorphwysfa i'w bobl yn yr olwg ar ofal Duw drostynt.

Y mater sydd yma ydyw, *Ymddiried yn yr Arglwydd, a hyny yn rhoddi tawelwch i'r Cristion.* "Felly y rhydd efe hûn i'w anwylyd." Fe rydd hûn i'w bobl.

Y mae gormod pryder yn rhwystro pobl i gysgu. Ond y mae yn sicr fod y geiriau yn meddwl mwy na hyny. Fe rydd hûn i'w meddyliau. A ddarfu i chwi ddeall fod yn rhaid i'r meddwl gael huno weithiau gystal a'r corph? Os na chaiff, y mae yn sicr o anmharu a dyrysu. Peth mawr iawn yw cael hûn i'r meddwl. Tawelwch! Yn lle bod ar ei *dension*, ac mewn pryder, gorawydd, a gorfaelio, y mae y meddwl yn cael ymdawelu a huno.

Beth sydd yn rhoddi hûn? Wel, golwg ar Dduw; gweled yr Arglwydd yn y cwbl. "Felly," ar y tir yna, y mae ei bobl yn cael tawelwch meddwl. Fel y dywed yr adnod arall, "Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol yr hwn sydd a'i feddylfryd arnat ti."

1. Fe rydd hûn i'w anwylyd gyda golwg ar amgylchiadau y byd a'r bywyd hwn. Nid peth bach yw hyn. Medr ymddiried yn yr Arglwydd, a huno yn yr olwg ar amgylchiadau. Nid oes dim yn cynyrchu hûn ond gweled yr Arglwydd, a chofio mai efe sydd yn llywodraethu, ac mai ofer pob ymdrech hebddo ef. Yr Arglwydd sydd yn teyrnasu. Dyna sydd yn rhoddi help i ni: "Canys ti a wnaethost hyn." "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a ddygodd ymaith." Os efe sydd yn gwneyd, y mae yn rhaid ei fod yn gwneyd y cwbl mewn modd perffaith. Y mae efe yn ddoeth o galon. Os yr Arglwydd sydd yn gwneyd y cwbl, y mae yn rhaid mai felly y mae hi oreu; oblegid

y mae wedi addaw y caiff pob peth gydweithio er daioni i'r rhai sydd yn ymddiried ynddo. Rhoddwch eich gofal iddo. Ymdawelwch a gorphwyswch.

Y mae gorphwys yn rhan o grefydd. Yr ydym yn galw arnoch i weithio ambell dro. Ond hunwch weithiau : huno ar ol gweithio, a huno i weithio.

Y mae y Salm hon yn ein dysgu i ymddiried ein teuluoedd i ofal yr Arglwydd ; amgylchiadau y teulu. Ac y mae yn bosibl fod llawer dyn duwiol yn teimlo mwy o ofn am ei deulu nag am dano ei hunan ; ac yn barod i ddweyd, Mi äf fi trwy y byd yma ryw sut, ond beth ddaw o'r teulu ? Y mae dyn duwiol yn rhoddi gofal ei deulu i'r Arglwydd : " Tad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon yw Duw yn ei breswylfa sanctaidd." Tybia rhai mai wrth y " ty " yn yr adnod gyntaf y meddylir y teulu. " Wele, plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd ; a'i wobr ef yw ffrwyth y groth ;" sef etifeddiaeth y mae yr Arglwydd yn ei rhoddi, ac nid etifeddiaeth yr ydym ni yn ei rhoddi iddo ef, ond y mae efe yn ei rhoddi i ni. Gwobr oddiwrtho ef ydyw ffrwyth y groth. Pa les ydynt ? Wel, " fel y mae saethau yn llaw y cadarn, felly mae plant ieuenctyd." Plant pobl ieuainc. Cysur ydyw hyn i rai i ddechreu byw yn y byd yma. Paham y sonir am blant pobl ieuainc mwy na phlant pobl ereill, os nad ydynt hwy yn dueddol i fod yn fwy pryderus, yr hyn sydd yn bur naturiol iddynt hwy. Ond y mae yr Arglwydd yn addaw yn y fan hyn, " Fel y mae saethau yn llaw y cadarn, felly y mae plant ieuenctyd." Y plant ydych chwi yn eu magu yn awr, fe ddeuant yn bobl ieuainc yn y man. Beth ydyw saethau yn llaw y cadarn ? Wel, amddiffyn. Fe fydd y plant yna yn swcr i chwithau yn eich hen ddyddiau. A gwnewch chwi eich dyledswydd tuagatynt, fe fydd genych le i ddisgwyl bendith Duw. Megwch hwynt yn addysg ac yn athrawiaeth yr Arglwydd.

Y mae plant felly yn llawer o'r cymydogaethau hyn, yn dirion, yn ofalus am eu rhieni yn eu hen ddyddiau. Gobeithio y bydd y plant yma i gyd felly.

Y ffordd i gael yr ymddiried tawel hwn yn yr Arglwydd, yw gofalu am fod crefydd y peth blaenaf.

Paid a rhoddi y byd yma yn flaenaf. " Na thrysorwch i chwi drysorau ar y ddaear, lle y mae gwyfyn a rhwd yn llygru, a lle y mae lladron yn cloddio trwodd, ac yn lladrata." Byddwch yn methu cysgu felly. " Eithr trysorwch i chwi drysorau yn y nef, lle nad oes na gwyfyn na rhwd yn llygru ; a lle nas cloddia lladron trwodd, ac nis lladratant." Chwi gysgwch wedi hyny. Chwi fyddwch yn dawel, os bydd eich trysorau chwi yn y nef. Oherwydd, lle y bydd eich trysor, yno y bydd eich calon hefyd. Nis gallwch beidio meddwl am danynt ; bydd eich meddyliau yn myned atynt. Wel, a fyddai yn rhyw ddrwg fod genym dipyn o'r byd yma wrth gefn ? Na fyddai ; ond peidiwch a'i wneyd yn drysor ; ond bydded y cwbl yn rhywbeth dros ben. Yr holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg. Gofelwch am fod eich trysor yn y nefoedd, ac yna fe fyddwch yn dawel. Ni raid i chwi ddim petruso yn nghanol cyfnewidiadau Rhagluniaeth.

2. " Fe rydd hûn i'w anwylyd." Y mae golwg ar Dduw yn rhoddi tawelwch yn nghanol amheuon. Y peth cyntaf oedd amgylchiadau bydol. Dyma yr ail, amheuon crefyddol. Y mae yr oes hon yn oes o amheuaeth mewn modd arbenig. Y mae rhyw haint o amheuaeth yn ymdaenu drwy y wlad ; ac nid fel yr haint naturiol yn union. Y mae hon yn dechreu yn gyffredin yn y lleoedd isaf a thlottaf, ac yn codi yn raddol i'r dosparth uwchaf. Y mae yr haint grefyddol yn dechreu yn y dosbarth uwchaf. Felly yr oedd hi yn amser Hume a Voltaire. Ond fe ymdaenodd yr haint i lawr at Tom Paine a'r cyfryw. Felly

yn awr. Y mae haint o amheuaeth yn ymdaenu yn y dosparth uwchaf, ac yn dechreu dyfod i lawr i'r dosparth isaf; ac y mae yn debyg o gyrhaedd llawer yn Nghymru.

Pa beth a wnawn yn ngwyneb hyn? Wel, yr unig ddiogelwch ydyw cadw Duw o hyd yn y golwg. Y mae yr olwg ar Dduw yn rhoddi tawelwch yn nghanol amheuon, yn eich cadw rhag amheuon. Y mae yn ddiogelwch i'r meddwl. Oherwydd os credwch fod Duw, rhaid i chwi gredu fod deddf. Nis gellwch amheu ei ddeddf. Oherwydd Duw heb ddedf, nid Duw ydyw. Os credwch fod ganddo ddeddf, rhaid i chwi gredu fod y ddeddf hono yn anghyfnewidiol, a'n bod ninau yn gyfrifol hefyd. Oherwydd deddf heb ddyled, nid deddf ydyw. Rhaid ein bod ni yn gyfrifol i ddeddf. Os credwch gyfrifoldeb dyn, rhaid i chwi gredu y bydd galw i gyfrif, ac y bydd barn ar ol hyn. Oherwydd os oes cyfrifoldeb i'r ddeddf, y mae yn rhaid i'r ddeddf ofyn cyfrif gan y dyledwr. Ac y mae yn rhaid fod barn yn bod; ac os credwch fod barn yn bod, y mae yn rhaid fod byd yn bod ar ol hwn. Y mae tragwyddoldeb yn bod, uffern yn bod, a nefoedd yn bod. Y mae y cwbl yn oleu, os bydd Duw yn y golwg. Os collwch yr olwg ar Dduw, chwi gollwch bob peth. Ni bydd genych ddim i ymaflyd ynddo. Byddwch yn colli eich hunain mewn gwagder diderfyn, heb ddim i orphwys arno. Ond os oes Duw, y mae deddf; y mae byd ar ol hwn. Mor sicr a bod Duw yn bod, y mae barn i fod, y mae cyfrif i fod. Rhaid i ni ymddangos ger ei fron i roddi cyfrif o'n gweithredoedd. Ac y mae ganddo fyd i gosbi yr annuwiol, ac i wobrwyo ei bobl. Golwg ar Dduw sydd yn ein cadw yn nghanol amheuon. Dyna ddywedaf ar yr ail fater.

3. Am wn i nad un peth a grybwyllaf eto. Y mae golwg ar Dduw yn rhoddi help i huno ac ymdawelu yn y rhagolwg ar angeu ei hunan. Nid peth bach ydyw hyn. Eto

medr hwn fod yn dawel wrth feddwl am farw. Fe ddaw hyny! Fe ddaw marw. Nis gwn a oes pawb yma yn gallu meddwl am farw heb bryderu ac ofni! Ond y mae y dyn duwiol yn cael y fath olwg ar Dduw nes y mae yn medru dyweyd fel y Salmydd, "Nid ofnaf niwed, canys yr wyt ti gyda mi, dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Yr unig ffordd y medr rhai fod yn dawel ydyw cadw marw yn mhell o'u meddyliau. Y mae y dyn duwiol yn medru cymdeithasu â marw. Y mae yn huno, y mae yn ymddiried yn yr Arglwydd i fyw a marw. Mae llawer iawn gan Iesu Grist ar y mater yma. Ar hyn yr oedd yn llefaru y geiriau am yr aderyn bach. "Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling, ac ni syrth un ohonynt ar y ddaear heb eich Tad chwi." Ni bydd aderyn bach ddim marw nad yw Duw yno gydag ef. Nid syrthio i'r ddaear am damaid o fwyd a feddylir, ond marw. Ni threnga heb i'r Arglwydd ei weled. Dyna sydd gan yr Arglwydd yn y benod. "Wele yr wyf fi yn eich danfon fel defaid yn nghanol bleiddiaid." Y mae amser enbyd o'ch blaen, ac nid wyf am eich twyllo. Chwi a ddygir at lywiawdwyr a brenhinoedd o'm hachos i. Brawd a rydd frawd i fyny i farwolaeth, a thad ei blentyn; a phlant a godant i fyny yn erbyn eu rhieni ac a barant eu marwolaeth hwynt. Ond eto, nac ofnwch yn nghanol y cwbl. Y mae crefydd, fy mhobl, yn cynwys rhywbeth sydd yn nerthu ei pherchenog i beidio ofni yn yr olwg ar farw. Nac ofnwch rhag y rhai a laddant y corph, ac nis gallant roddi yr enaid i farwolaeth. Eithr yn hytrach ofnwch yr hwn a ddichon ddystrywio enaid a chorph yn uffern. Pa fodd y mae rhyngoch chwi â hwnw? Os oes heddwch rhyngoch chwi â Duw, ni raid i chwi ofni neb arall. Yna, y mae y geiriau hyn yn dyfod i mewn, "Oni werthir dau aderyn y tô er ffyrling?" Er ffyrling, er ffyrling, y coin lleiaf; a phump am ddwy, medd adnod

arall ; un dros ben am ddwy ffyrling. Ac ni syrth un ohonynt i'r ddaear heb eich Tad chwi. Y mae yn Dad i chwi. Yr ydych yn methu ymddiried ynddo. Ni syrth un ohonynt ar y ddaear. Yr oedd Duw yn gofalu am aderyn y tô. Nid oes neb dynion yn gofalu am dano. Aderyn y to! Y mae dynion yn ofalus am rai adar. Y mae cyfreithiau y deyrnas yn lledu eu hamddiffyn drostynt. Ond nid oes neb yn gofalu am aderyn y tô? Oes Un. Y mae y Duw wnaeth y bwydydd yn gofalu am hwnw. Ni syrth un ohonynt oll. Ac yr ydych chwi yn ofni y byddwch chwi farw heb eich Tad; yn ofni y bydd i Dduw eich gadael yn yr oriau olaf. Na, ni byddwch heb eich Tad. Credwch hyny. Ymddiriedwch ynddo. Fe dâl eich bywyd chwi fwy na holl adar y wybren i gyd. Y mae bywyd yr aderyn bach yn darfod yn y fan yna. Y mae genych chwi fywyd sydd yn cyrhaedd i dragwyddoldeb; bywyd wedi ei brynu â bywyd y Meichiau. Ac a ydych yn ofni i Dduw eich anghofio? Ni byddwch heb eich Tad, doed y marw lle y delo. Pe baech yn marw ar y cefnfôr heb un doctor yn agos, fe fydd Duw yno gyda chwi. Bydd ei freichiau tragwyddol danoch. Ymddiriedwch ynddo i fyw a marw.

Yn wyneb y pethau a ddywedwyd, beth feddyliech chwi faint a dâl bod yn un o anwyliaid y nefoedd? A beth dâl pob peth yn ymyl hyny? Rhoddwch y cwbl yn ochr hyn. Dyma beth mawr, bod yn anwylyd y nefoedd! Pe b'ai y byd yn eich casau, peidiwch pryderu. Yr ydych yn anwyl gan Dduw; y Duw anfeidrol, fel canwyll ei lygad. Mae eich enw ar gledr ei law. Y mae yn lledu ei aden drosot. Hunwch, ynte, gyfeillion, fel Iesu Grist yn y llong. Ymddiriedwch yn yr Arglwydd, y Tad sydd wrth y llyw. Y mae yn byw byth i lywodraethu tònau y mor. Ymddiriedwch yn ei enw, ac ymdawelwch yn yr olwg arno. Amen.

## PREGETH XII.

### PREGETH ANGLADDOL Y PARCH. JOHN PHILLIPS, BANGOR.

Ioan ix. 4: "Y mae yn rhaid i mi weithio gwaith yr hwn a'm hanfonodd, tra yr ydyw hi yn ddydd: y mae y nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio."

YN yr hyn a ddywedir yn yr adnod hon, y mae yn bosibl fod y tebygrwydd mwyaf rhyngddo ef (Mr Phillips) a'i Feistr. Fe wnaeth waith mawr tra yr oedd yn ddydd. Y mae y nos wedi dyfod arno ef bellach; ond ni ddaeth y nos nes yr oedd wedi gwneyd gwaith ag fydd yn fendith i Gymru am flynyddoedd ac oesoedd. Yr oeddwn i yn ei adnabod cyn iddo ddechreu ar un gwaith cyhoeddus. Yr oedd rhyw ysbryd gweithio ynddo, rhyw awydd gwneyd rhywbeth. Nid oedd yn gwybod yn iawn pa beth i'w wneyd—pa beth oedd gan ei Dad Nefol iddo i'w wneyd. Ond eto, yr oedd yn llawn ysbryd gwneyd yr hyn y meddyliai yr oedd yr Arglwydd am iddo ei wneyd. A'r peth enwocaf a welais i ynddo oedd ei weithgarwch. Yr oedd yn bleser ganddo weithio. Yr oedd yn siaradwr da, medrus iawn, wedi ei ddonio gan ei Dad Nefol i fod yn areithydd medrus ac effeithiol. Nid wyf yn ameu na wnaeth waith mawr fel siaradwr. Yr oedd rhyw ddylanwad anarferol gyda'i bregethau: ond nid yn y cymeriad yna y gwnaeth fwyaf ychwaith, ond mewn ffordd arall. Fe wnaeth waith mawr oedd yn angenrheidiol i'w wneyd, ac nid oedd neb mor gymwys i'w wneyd. Yr wyf am i chwi sylwi ar y pwys o fod yn weithiwr, ac nid neb dynion oeddwn am

roddi yn esiampl i chwi, ond Iesu Grist. Fel y bu fy mrawd yn ffyddlawn i ddilyn ei esiampl Ef, gobeithio y codir llawer i fod yn debyg iddo.

Y mae dau beth neillduol i'w dweyd yn nglŷn â hanes Iesu Grist:—

1af, Yr oedd Iesu Grist yn weddïwr mawr.

2il, Yr oedd Iesu Grist yn weithiwr mawr.

Nid gweddïwr heb fod yn weithiwr, ac nid gweithiwr heb fod yn weddïwr. Y mae y ddau yna yn cydredeg â'u gilydd yn holl hanes yr Iesu. Yr oedd yn gweddïo llawer iawn,—gweddïo y nos a gweithio y dydd; ac o ysbryd gweddi yn ddiameu yr oedd yr Iesu ei hun yn derbyn grym. Er ei fod yn Fab Duw, yr oedd yn dysgu er hyny. Yr oedd yn derbyn fel Cyfryngwr y natur ddynol; yr oedd yr Ysbryd wedi ei roddi iddo nid wrth fesur.

Dyma lle yr ydym ni yn colli. Feallai ein bod yn gweithio heb weddïo. Nid ydym yn gweddïo digon am i Dduw ddangos gwaith i ni. Yr ydym yn myned i wneyd rhywbeth ag a fydd yn ddymunol i ni ddangos ein hunain, yn lle myned at Dduw i ofyn iddo Ef beth a fyn Efe i ni ei wneyd.

Nid ydym yn gweddïo digon ar Dduw cyn gweithio, nac yn disgwyl digon wrtho wedi hyny. Yr oedd Iesu Grist yn weddïwr mawr; ond heblaw hyny, yr oedd yn weithiwr mawr. Dyma gawn ni yn y fan yma. "Wrth fyned heibio, efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth." Gallesid meddwl yn naturiol nad oedd yma le i weithio llawer. Y dydd o'r blaen, neu y diwrnod hwn, yr oedd yr Iuddewon yn ceisio ei labyddio. Felly y mae Stier yn meddwl fod dechreu y benod hon yn cyfeirio at yr un amser a diwedd y benod o'r blaen: "Yna hwy a godasant gerig i'w taflu ato ef. A'r Iesu a ymguddiodd, ac a aeth allan o'r deml, gan fyned

trwy eu canol hwynt: ac felly 'yr aeth efe heibio." Dyna ddiwedd y benod o'r blaen. Y mae y benod hon yn dechreu fel hyn: "Ac wrth fyned heibio efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth." Yr un amser a phan ydoedd yn dianc o ganol y gawod gerig, fe ganfu ddyn dall o'i enedigaeth. Gwelodd gyfle i wneyd daioni yn y fan hon yn union. Y mae yma rywbeth hynod yn yr hamdden yma—mor *composed* oedd ein Hiesu. "Wrth fyned heibio efe a ganfu ddyn dall o'i enedigaeth;" a dyma y dysgyblion yn gofyn: "Pwy a bechodd; ai hwn ai ei rieni, fel y genid ef yn ddall?" Hen gwestiwn! Pa sut y daeth drwg moesol a drygau naturiol? Pa beth yw yr achos fod un yn cael ei gystuddio yn fwy na'r llall? Hen gwestiwn ag y bu Job a'i gyfeillion yn dadleu yn ei gylch: Pwy a bechodd? Nid oes dim cystudd heb bechod yn myned o'i flaen rywsut. Ai ei rieni ynte hwn? Hwn yn ei fywyd. A oedd y cystudd yma yn cael ei benu i bwrpas, oherwydd fod Duw yn rhagweled rhyw ddrwg yn hwn—y byddai yn ddyn drwg, ac am hyny yn trefnu ei fod i gael ei eni yn ddall? Ai ei rieni a bechodd? Na, nid hwn a bechodd, na'i rieni chwaith, eithr fel yr amlygid gweithredoedd Duw ynddo ef. Cyfle i wneyd daioni yw hwn, i Dduw ddangos ei hunan; cyfle i minau wneyd rhywbeth dros Dduw. Dyna y ffordd i edrych ar ddrygau. Nid pa sut y daethant, nid yw hyny o fawr bwys, ond pa sut y gallwn eu cael oddiyma, a'u symud. Nid myned at ryw gwestiynau anorfod a ddylem, ond myned at y peth *practical*. Pa beth sydd i'w wneyd? Gwelais sylw gan un awdwr, fod un mewn cystudd, un mewn teulu yn gystuddiol, yn fendith yn fynych iawn i'r holl deulu. Y mae cystuddiau yn lles, nid yn unig i'r un sydd danno, ond i ereill, i dynu allan eu gweithgarwch, i roddi cyfle iddynt i wneyd rhyw les yn ein dydd a'n tymor. Y fath fendith

mewn teulu, lawer tro, yw rhoddi pla yn y teulu. Y mae y lleill yn cael bendith, trwy gael dangos eu tosturi a'u cydymdeimlad.

Dyna yr egwyddor sydd yma. Y mae y dyn yma wedi ei eni yn ddall, er mwyn rhoddi cyfle i wneyd daioni. Y mae yr egwyddor yn cyrhaedd at bob profedigaeth; a phe baem ni fel Iesu Grist, gwelem gyfle i wneyd hyny yn mhob amgylchiad. A dyma fel y mae adnod y testyn yn dyfod i mewn. "Rhaid i mi," meddai, "weithio gwaith yr hwn a'm danfonodd tra y mae hi yn ddydd; y mae y nos yn dyfod, pryd na ddichon neb weithio."

Y mae Iesu Grist yn esiampl i ni fel gweithiwr. Nid mor fynych y byddwn yn edrych arno felly. Bu yn esiampl yn Nazareth am flynyddoedd yn distaw dreiglo; fe gysegrodd ei waith i Dduw, oherwydd bu yn gweithio a'i ddwylaw. Nid hyny sydd yma, y mae yn wir, ond y mae yr egwyddor yn cyrhaedd at hyny. Gweithiwr oedd Iesu Grist. Bu yn gweithio â'i ddwy law. Fe ddylem ni barchu y gweithiwr; ac nid oes dim yn fwy anmharchus yn y byd i gyd na dyn segur, o bob dyn, pwy bynag a fo. Pe yn ddyn arianog, y mae yn ddyn anmharchus, os yw yn ddyn segur. Gwyliwch rhag segurdod yn anad pob peth. Y mae gobaith bron am bawb ond dyn segur. Y mae y dynion yna sydd gyda'r ffyrdd haiarn, y mae y rhai yna yn gwneyd rhywbeth; y maent o rhyw les yn y byd. Y mae gwneyd rhywbeth yn codi dyn mewn cymdeithas, bydded y grefft a fo. Nid oes dim yn rhy isel ond segurdod. Nid yw crefftwr ddim yn ddyn isel; y mae yn ddyn parchus. Fe fu Iesu Grist yn grefftwr, yn saer, yn fab y saer, ac yn saer ei hunan yn ddiau; ac felly rhoddodd fawredd ar waith. Ond nid hyny sydd yma, y mae yn wir; ond eto gwaith naturiol sydd yma, hyny yw, nid gwaith achubol—rhoddi llygaid i'r dyn dall. Nid oedd hyny

ynddo ei hun yn iachawdwriaeth i'w enaid. Cafodd ei achub; ond lles tymhorol i'w gorph sydd mewn golwg yma. Dyna waith: Rhaid i mi weithio gwaith yr Hwn a'm danfonodd tra y mae hi yn ddydd; y mae y nos yn dyfod pryd na ddichon neb weithio. Ac ar hyn yr oeddwn am roddi dau sylw o'ch blaen:

1af, Yr oedd Iesu Grist yn gwneyd pob gwaith yn ei le.

2il, Yr oedd hefyd yn gwneyd pob gwaith yn ei amser.

Yn 1af, Yr oedd yn gwneyd pob gwaith yn ei le. Y mae gwaith ysprydol, ac y mae gwaith naturiol; gwaith gyda golwg ar fyd arall, a gwaith gyda golwg ar y byd yma; gwaith ar enaid, a chyda golwg ar gorph. Wele, y mae yn bosibl ein bod yn gwneyd gwaith Duw gyda phob gwaith. Os yw Duw yn ein galw at ryw waith yn ei le priodol; os dyna mae Duw yn ei beri, yr ydych yn gwneyd gwaith Duw, fel yr oedd Iesu Grist yn gwneyd gwaith yr Hwn a'i danfonodd pan yn rhoddi llygaid i'r dall. Gwneyd pobpeth o ufudd-dod. Y mae yn bosibl i'r gwas a'r forwyn wneyd gwaith eu meistr a hyny i'r Arglwydd. Wrth wneyd gwaith eich teulu a'ch crefft gellwch wneyd hyny i'r Arglwydd. Felly y mae Iesu Grist yma. Rhaid i mi weithio gwaith yr Hwn a'm danfonodd. Gwaith yw hyny. Achub pechaduriaid? Nage. Marw? Nage; ond tosturio wrth rhyw greadur tlawd, a gwneyd lles i'w gorph. A dyna yw y gwaith yn yr amgylchiad yna. Dyna waith y lle a'r amgylchiad yr wyf ynddo yn awr. Peth mawr i ni fyddai gweled Duw yn ei Ragluniaeth, a theimlo ein bod yn gwneyd ei orchymyn, a'n bod yn gyfrifol iddo bob amser; a bod yn foddlawn yn y lleiaf, a bod yn foddlawn gyda phob peth. Y mae llawer o bethau heblaw y grefydd yma yn waith Duw mewn ystyr. Nis gallwn ni roddi llygaid corphorol i neb. Ond y mae genym ninau

rywbeth tebyg i hyny. Gallai fod genych rywbeth tebyg iawn i roddi llygaid i ddeillion. Gwaith Mr. Phillips oedd rhoddi llygaid i ddeillion—dysgu y byd. Y mae yn waith da ; ac os yn waith da y mae yn waith Duw. Pe baech yn helpu plant bach i gael ysgol, os oes yma rai yn tyfu i fyny yn ddeillion, byddwch yn gwneyd gwaith Duw wrth roddi ysgol iddynt. Y mae lle i waith fel yna yn nhrefn Duw. Dyna un peth yr wyf yn parchu Mr. Phillips ynddo. A ddarfu efe achub llawer? Do ; ond pe buasai heb wneyd hyny buasai wedi gwneyd gwaith mawr iawn ; ac wrth ei gyflawni, yr oedd yn gwneyd gwaith Duw. Gwnewch gymaint ag a alloch gyda'r bwriad hwnw gyda'r ysgol.

Fe gafodd y dyn yma ei olwg ysprydol. Nis gwyddai pwy oedd Iesu Grist ar y cyntaf. Felly y gallwch chwithau beri llawer iawn o ddaioni trwy y Beibl yma. Dysgwch yr A B i'r plant bach yn yr Ysgol Sul. Dyna sydd ar ol yn fawr iawn yn yr eglwys. Y mae dynion wedi myned i feddwl nad oes dim i'w wneyd heb fyned i'r pwlpud. Na ; y mae gwaith y dyn yn y pwlpud, yn y teulu, ac ar yr ystrydoedd. Gwnewch rywbeth, ac fe ddengys Duw beth arall i chwi. Gwnewch y gwaith lleiaf i ddechreu, ac yna fe gewch waith mwy. Y mae gan Dduw waith i bawb, yn ei le. Nid yr un lle sydd i bawb. Nid yw pawb i fod yn athrawon a phregethwyr ; ond y mae pawb i weithio ; y mae wedi rhoddi talent i bawb. Nid oes neb yma na chafodd dalent. Y mae genyt dalent os na chefaist dy alw i bregethu. Cefaist un dalent os na chefaist ti bump. Yr oedd yr hen Charles o'r Bala yn ei ddyddlyfr yn dyweyd iddo gael bendith unwaith wrth ddarllen dameg y talentau. Dywedai ei fod yn meddwl fod mwy o berygl i'r dyn gyda'r un dalent nag i'r dyn gyda'r pump. Hwnw guddiodd ei dalent. Hwnw sydd yn cael ei gosbi. Gwyliwn fod yn debyg iddo. Y mae

pawb wedi cael talent gan yr Arglwydd, ac y mae mor sicr a hyny, fe fydd cyfrif yn cael ei ofyn am dani. Pob gwaith yn ei le. Ond peidiwch aros gyda'r gwaith tymhorol. Y mae gwaith mwy—gwaith ysprydol. Nid oedd yr Arglwydd yn esgeuluso hwnw. Dyna y gwaith mawr, gwaith ar enaid yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Pa sut yr wyt ti gyda hwnw—y gwaith mawr o weithio allan dy iachawdwriaeth dy hunan gydag ofn a dychryn. Gwaith yw crefydd. Ar ol son am y gwaith tymhorol, dewch at y grefydd yma. Gwaith ydyw crefydd. Gwaith ydyw byw yn dduwiol. Yr ydych yn y winllan. Yr oedd yma olwg hyfryd yn y boreu—y fath rifedi yn proffesu bod yn ddisgyblion i Iesu Grist. [Cyfeiriad at yr ordinhad o Swper yr Arglwydd a weinyddwyd yn y boreu.] O, pe baem ni i gyd yn weithwyr: pawb o broffeswyr crefydd yn weithwyr diwyd; yn gwneyd cymaint ag a fedrant at achub eneidiau eu cyd-ddynion!

2il, Yr oedd Iesu Grist yn gwneyd y gwaith yn ei amser: "Tra y mae hi yn ddydd." Y mae amser i weithio; ac amser i weithio ydyw ein hamser. Nid yw Duw yn rhoddi dim amser i segura. O, resyn gwario amser Duw mewn oferedd! Fechgyn y Bala, fe fydd cyfrif am eich amser! Rhyw ddydd ydych yn ei gael, ac ni ddaw byth mwy. Ni ddaw byth yn ol, os aiff heibio. Os ydych am weithio, y mae yn rhaid gwneyd y gwaith yn ei amser. Y mae Duw yn rhoddi rhywbeth i ni i'w wneyd bob dydd. Os oes un diwrnod yn myned heibio heb i ni wneyd rhywbeth, dyna ddiwrnod y bydd ei euogrwydd yn aros ar y gydwybod. O bob pechod, dyma y pechod y mae arnaf fwyaf o'i ofn. O, yr amser a dreuliais yn ofer. O, oes wedi myned heibio, a finau heb wneyd dim! Y mae yma rai a'u penau yn wynion—pa beth a wnaethoch? Chwithau ganol oed, yr ydych yn nghryfder eich nerth—a wnaethoch

chwi rywbeth o werth? Y mae yn bryd i chwi gysegru eich bywyd i wneyd rhywbeth. Y mae y nos yn dyfod. Ewch a'r gair yna gyda chwi, "Y mae y nos yn dyfod:" y mae hyna yn cyfeirio at rhyw berthynas rhwng y dyn a'i waith, a'r derbyniad a ga pan fo y dydd wedi dibenu. Yr oedd perthynas rhwng gwaith Iesu Grist drwy ei fywyd a'i farw y dydd olaf. Y mae perthynas rhwng ein byw ninau a'n marw. Os ydym am farw yn ddedwydd, y mae yn rhaid gweithio. Yr oedd Iesu Grist yn teimlo felly. Ni buasai marw Iesu Grist ddim yn dderbyniol yn y nefoedd oni buasai ei fod wedi gweithio drwy ei fywyd. Nid ar y groes y dechreuodd weithio. Na, pan yn fachgen, yr oedd yn dyweyd fod yn rhaid iddo ef fod gyda'r pethau a berthynent i'w Dad. Ac felly yr oedd ar hyd ei oes. Yr oedd rhyw *raid* arno. O, na ddisgynai hyny ar fechgyn Cymru!—fod yn rhaid gweithio! Rhaid o'r nefoedd! Rhaid, pe byddai pawb yn ein herbyn! Mynwch grefydd i fyned trwy rwystrau—rhyw raid i wneyd hyny allom i wasanaethu yr Arglwydd Iesu. Y mae cysylltiad rhwng heddyw a marw; rhwng pob dydd a marw. Dy ddull yn treulio pob diwrnod—bydd ol hyny ar dy farw. Fel hyny y byddwn ni yn dragywydd. Dyna po gymaint o gysur a gawn. Peidiwn a disgwyl cael swper yn niwedd y dydd, a ninau wedi treulio yr amser mewn oferedd.

Rhyw nos dywyll oedd hi ar Iesu Grist. Nid yn unig bu yn gweithio yn galed drwy y dydd, ond aeth yn ystorm arno ar ol gweithio. Gallwn ni gael cysgu pan ddaw y nos. Cawn ni gysgu dan gysgod yr Iawn. Pan fo yn nos dywyll, bydd y ser yn y golwg i ni. Ond i'r Arglwydd Iesu nid oedd un seren yn y golwg, ond caddug perffaith. Nos ystormus ydoedd. Wedi gweithio yn galed drwy y dydd, dacw hi yn nos. Nid oedd dim gorphwys iddo pan yr aeth yn nos. Na; ond nos heb ddim gwawr, nac un

seren, nac un pelydryn o'r nefoedd na'r ddaear. "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?" Ond, os cawn ni gymhorth i fod yn ffyddlawn yn ein dydd, cawn osteg gan Dduw y nos, a chanu yn dawel yn angau, gyda sicrwydd y bydd iddo wawrio y tu draw i angau. Fe fydd Duw yn goleuo o angau yr Arglwydd Iesu ar ein hangau ni.

Wel, y mae y nos yn dyfod! Nos heb un boreu a fydd hi i rai am byth, i'r dynion segur yma, y dynion sydd yn ofera y dydd. Fe ddaw yn nos na ddaw dydd byth ar ei ol! Ond i'r dynion ffyddlawn gyda'i achos Ef, daw y diwrnod yn dawel yn y man i dragwyddol orphwys, a myned i mewn i lawenydd eu Harglwydd. Coded Duw fwy o ddynion gweithgar, a rhodded fwy o yspryd gweithio i ninau. Amen.

## PREGETH XIII.

Salm xxvii. 4: "Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd, hyny a geisiaf; sef caffael trigo yn nhy yr Arglwydd holl ddyddiau fy mywyd, i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, ac i ymofyn yn ei deml."

UN o'r pethau mwyaf amlwg yn y Salmau ydyw y parch mawr oedd gan y Salmydd i dŷ yr Arglwydd; wrth i chwi sylwi y fath le y mae yn ei roddi i'w deimladau gyda golwg ar dŷ Dduw. Rhyw dri pheth mawr oedd gan y Salmydd: Yn gyntaf, Duw. Yn ail, Gair Duw. Yn drydydd, Tŷ Dduw. Yn nesaf at Dduw ei hunan, y mae yn rhoddi Gair Duw; tystiolaethau Duw, cyfraith Duw. Fel yna y mae yn gwneyd. Testyn ei fyfyrdodau, gwrth-ddrych a ffynhonell ei hapusrwydd oedd cyfraith yr Arglwydd, geiriau yr Arglwydd. Ond yn nesaf at y Gair, y mae yn rhoddi Ty Dduw. Ac y mae yn rhaid fod gan y Salmydd olygiadau mwy ysprydol o lawer nag sydd gan luaws o grefyddwyr yn y dyddiau hyn. Edrychai ef yn bellach na'r adeilad, ac nag un tŷ daearol. Ac eto, nid oedd yn disgwyl mwynhau cysuron na bendith y tŷ ysbrydol heb y tŷ allanol. Y mae yn amlwg fod y ddau ganddo gyda'u gilydd. Ein perygl ni ydyw gorphwys ar gorph crefydd heb yr ysprydol; neu ddisgwyl yr ysprydol heb y corph. Ond nid oedd y Salmydd yn gorphwys ar gorph o grefydd oddiallan. Ac wedi hyny, nid oedd yn ymofyn am yr ysprydol, ac yn meddwl ei fod yn meddu hyny, tra yn ddieithr i'r arferiadau allanol.

Ond dyna welir gyntaf yma ydyw teimlad y Salmydd gyda golwg ar dŷ yr Arglwydd: "Un peth a ddeisyfais i

gan yr Arglwydd." Hyny ydyw, dyma yr un peth sydd yn cynwys yr oll o hyn allan. Y mae fy holl gais, a fy holl ddymuniadau, yn cydgyfarfod mewn un peth. Y meddwl ydyw fod crefydd y peth penaf ganddo, yn un peth uwchlaw pob peth. Yr oedd yn foddlon bod heb bobpeth er mwyn hyny. Dyma ydyw crefydd iawn. Y mae tri dosparth yn y capel yma heddyw. Y mae rhai heb enw o grefydd. Y mae ereill ag enw crefydd ganddynt; y mae crefydd yn ail fater ganddynt. Fe ddymunent gael crefydd ; nid ydynt yn foddlon bod hebddi ; ond ni bu erioed yn beth blaenaf, yn un peth ganddynt. Y mae dosparth arall a'u crefydd y peth blaenaf. Dyma yr un peth. Y maent yn ceisio yn gyntaf deyrnas Dduw a'i gyfiawnder Ef. Nid rhyw beth dros ben ydyw, ond y peth blaenaf. Un peth—hyny a ddeisyfais, hyny a geisiaf. Dyma oedd ei dymer wastadol; a dyna sydd yn dangos beth ydyw dyn, beth ydyw yn gyson. Nid beth ydyw dyn ar ryw amserau, ond beth ydyw yn gyson. Dyma oedd teimlad cyson y Salmydd. "Un peth a ddeisyfais i gan yr Arglwydd ; hyny a geisiaf." Nid oedd y Salmydd yn myned wrth dymer gyda chrefydd. Dyma gysondeb ei fywyd. Caffael trigo yn nhŷ yr Arglwydd holl ddyddiau ei fywyd.

Yr oedd hyn yn cynwys yn un peth ei fod yn cael ei gadw yn addas i drigo yno, ei fod yn un o'r rhai cymwys i drigo yno. Yr oedd yn gweddïo ac yn gwylio na byddai dim yn digwydd, na dim yn cyfarfod ag ef ag a fyddai yn ei anghymwyso i drigo yn nhŷ Dduw. Ac y mae wedi dyweyd eilwaith, ac eilwaith, pa fath rai oedd i drigo yno. Yr oedd yn deisyf cael trigo am byth yn ei dŷ. "Pwy a esgyn i fynydd yr Arglwydd, a phwy a saif yn ei le sanctaidd ef? Y glân ei ddwylaw a'r pur ei galon; yr hwn ni ddyrchafodd ei feddwl at wagedd, ac ni thyngodd i

dwyllo." Dyma y rhai sydd yn cael esgyn a sefyll yno. Yr oedd y Salmydd yn gweddïo am gael ei gadw rhag gwrthgiliad tufewnol. Y mae yn bosibl i ni wrthgilio yn raddol, trwy fod rhyw ddiogi ysprydol neu ddifrawder yn achos crefydd wedi ein meddianu. Yr oedd y Salmydd yn gweddïo yn erbyn hyny, am i Dduw roddi gras i'w gynal hyd y diwedd.

Y mae y geiriau nesaf yn dangos paham yr oedd yn teimlo felly, a pha beth oedd yr achos ei fod yn gweddïo mor daer. Y fantais oedd edrych ar brydferthwch yr Arglwydd, a chael ymofyn yn ei deml. Un peth oedd yn peri i'r Salmydd fod mor eiddigeddus, a phryderus, a thaer am gael aros yn nhy Dduw, oedd i edrych ar ei brydferthwch Ef.

1. Yr oedd yn dyfod yno i weled prydferthwch Duw. Teimlai fod yma le manteisiol i hyny. Yr oedd hwn yn ddiben ganddo yn wastadol. Nid oedd yn foddlon heb gael golwg ar ei brydferthwch Ef. Yr oedd yn sylweddoli y mater i'w feddwl, fod Duw yn ei dŷ, ac fod ei bobl yn cael ei gymdeithas. Y mae y meddwl crediniol yn y tŷ, a'r ordinhadau, yn cael golwg ar Dduw yn ei brydferthwch.

Gair rhyfedd ydyw hwn, *prydferthwch* yr Arglwydd; prydferthwch yr *Arglwydd* hefyd. Y mae llawer iawn yn barod i edrych ar brydferthwch gwaith Duw, nad oes ganddynt syniad am Dduw ei hun. Ac y mae hwn yn brydferth. Y mae prydferthwch o'ch amgylch, yn y creigiau, y dyffrynoedd a'r afonydd. Ewch allan yn y nos, y fath brydferthwch sydd yn toi y nefoedd! Y mae llawer yn gweled hwn heb weled Duw erioed. Yr oedd y Salmydd yn gweled hyn, ac y mae wedi parotoi Salm neillduol ar hyny. "Pan edrychwyf ar y nefoedd, gwaith dy fysedd; y lloer a'r ser, y rhai a ordeiniaist." Ond nid oedd yn foddlon ar brydferthwch y greadigaeth, heb gael

golwg ar brydferthwch Duw ei hunan. Yr oedd yn teimlo nad oedd dim i lenwi yr enaid wedi'r cwbl ond hyny. Yr oedd yn dymuno cael golwg ar brydferthwch Duw ei hunan, ac nid ei waith yn unig. Duw ei hunan! Dyna oedd yn y tŷ, Duw ei hunan. Ewch allan, cewch weled ei waith Ef yn y greadigaeth wedi ei gwisgo â harddwch. Ond yma, yn y tŷ, y mae Duw ei hunan. Y mae yn meiddio cael golwg arno yn ei brydferthwch yma. Y mae yn llenwi y Beibl fod rhyw bresenoldeb neillduol o eiddo Duw ei hunan i'w ddisgwyl yn ei dŷ—prydferthwch yr Arglwydd. Dyma sydd yma. Nis gwn sut i'w esbonio. Y mae yma rhyw brydferthwch, rhyw bresenoldeb, rhywbeth yn debyg i bresenoldeb yr Arglwydd yn y nefoedd. Y mae y ddau yn debyg iawn. Y mae Duw yn bresenol yn mhob man. Ewch i ba le y mynoch, y mae Duw yno. Beth ddisgwyliwn yn y tŷ, yn y capel? Beth ddisgwyliwn yno? Ond y mae Efe yn mhob man. Y mae yn mhen y mynydd; ond beth sydd ynddo yn fwy yma?

Wel, y mae presenoldeb Duw yn ei dŷ o'r un natur, cofiwch, a'i bresenoldeb yn y nefoedd. Y mae gwahaniaeth graddau. Oes y mae; ond nid oes gwahaniaeth natur. Y mae llawer o adnodau yn y Beibl yn cyrhaedd i'r ddau. Y mae Yspryd Duw yn siarad am yr eglwys ar y ddaear; a thrwy hyny, ac yn hyny, yn dangos gogoniant yr eglwys yn y nefoedd yn yr un adnod; oherwydd y maent mor agos i'w gilydd, fel y mae yr un geiriau yn gwneyd y tro i'r naill a'r llall.

"O byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragwyddol, a Brenin y gogoniant a ddaw i mewn. Pwy yw y Brenin gogoniant hwn? Yr Arglwydd nerthol a chadarn, yr Arglwydd cadarn mewn rhyfel." Am y nefoedd y mae y geiriau yna yn son, medd rhyw un. Y mae yn ddiameu fod hyny yma. Y mae yma awgrym

yn y geiriau fel pe bae Yspryd Duw yn meddwl i ni eu cymhwyso at y nefoedd. Oblegid fe ddywedir, "Ymddyrchefwch ddrysau tragwyddol." Y mae yma rhywbeth yn myned tu draw i amser. Ac eto, yr achlysur o'u llefaru oedd gyda golwg ar ddwyn yr arch i Sïon, i Jerusalem. Dyna y meddwl cyntaf a llythrenol sydd iddynt. Yn y rhan gyntaf y mae yn gofyn "Pwy a esgyn i fynydd yr Arglwydd, a phwy a saif yn ei le sanctaidd Ef." A phan ddaethant at ddrws y tŷ, dyma hwy yn gwaeddi wedi hyny gyda'u gilydd, "O, byrth, dyrchefwch eich penau, ac ymddyrchefwch ddrysau tragwyddol." Beth sydd yn bod? A Brenin y gogoniant a ddaw i mewn gyda'r arch i'w dŷ ar y ddaear. Lle y mae ei arch, yno y mae Duw. Gofelwch fod yr arch, y drugareddfa yno, fe ddaw Duw yno; Brenin y gogoniant a ddaw i mewn. Yr oedd rhyw rai y tu mewn yn gofyn, "Pwy yw y Brenin gogoniant hwn?" A hwythau drachefn yn cymeryd y geiriau, ac yn ateb, "Yr Arglwydd nerthol a chadarn, yr Arglwydd cadarn mewn rhyfel. Arglwydd y lluoedd Efe yw Brenhin y gogoniant."

Y mae hwn i'w gael ar y ddaear. Brenin y gogoniant yn dyfod i mewn i'w dŷ. A ddaethoch chwi i'w dŷ i'w weled? Dyna yw moddion gras. Tŷ yr Arglwydd, tŷ Dduw, palas Brenin y nefoedd. Y mae wedi addaw bod yma ei hunan. Y mae llawer o eiriau cyffelyb i'r rhai yna; geiriau a gymhwysir at y nefoedd, y mae yn bur amlwg eu bod yn cael eu llefaru yn fwyaf uniongyrchol am freintiau yr eglwys ar y ddaear. Nid ydynt yn gweled Duw yn ddigyfrwng yn y nefoedd. Nid oes neb yn ei weled ond y Mab. Y maent yn ei weled yn y Mab, yr Unig-anedig, ac yn Nghrist y gwelwn ninau Ef hefyd.

A phrydferthwch Duw ydyw ei fod yn Achubydd. Dyma fel y mae yn fawr. Y mae yn fawr yn y greadig-

aeth ; ond dyma y lle y mae yn brydferth, yr holl briodoliaethau mewn prydferthwch yn achub y pechadur, ac yn caru y rhai sydd yn golledig, yn cyfiawnhau yr annuwiol, yn derbyn pechaduriaid yn haeddiant ei Fab. Yn ei drefn y mae yn brydferth. Ar y drugareddfa y mae yn brydferth. Y mae hyn i'w gael i'r enaid crediniol.

2. Ymofyn yn Ei deml. Ystyr y gair "ymofyn" ydyw ymofyn am gael gair oddiwrth yr Arglwydd ; ymofyn am air, am ateb. Yr oedd y Salmydd yn arfer myned yn ei drallod i'r deml i ymofyn am gyfarwyddid, i ofyn beth a wnai. Yr oedd arno eisieu arweinydd yn yr anialwch. Mi af i'r deml, yno y caf wybod ; caf ryw air oddiwrth yr Arglwydd ; af yno i ymofyn beth i'w wneyd.

Dyna yr ail fater a ddylai fod genym ninau. Y cyntaf ydyw dyfod yma i edrych ar brydferthwch yr Arglwydd. Ond, nid yn unig dyfod yma i syllu, a meddwl, a rhyfeddu, ond dyfod yma i ymofyn beth a wnawn, i ofyn arweiniad. Y mae y cwbl i ddibenu yn ymarferol, ein bod yn meddwl am wneyd rhywbeth, a'n bod yn dyfod yma i ymofyn beth i'w wneyd. Y mae hyn i'w gael mewn moddion gras, gair oddiwrth yr Arglwydd i dy gyfarwyddo, i dy ddysgu. A fyddwch chwi yn disgwyl cael gair o'r nefoedd i ddyweyd wrthych pa fodd y mae i chwi wneyd? A fyddwch chwi yn gweddïo wrth ddyfod yma. Na thaw o Dduw, ein moliant? A fyddwch yn disgwyl cael gair i fyned gyda chwi adref? Rhywbeth a fydd yn aros gyda chwi. Gair oddiwrth Dduw i ddangos pa le yr wyt ti. Rhyw air i'n galw i ystyried ; a rhyw air i ddyweyd, Dacw y ffordd y rhodiwch ynddi. A garech chwi wybod pa le yr ydych yn colli? Pa le yr ydych yn esgeuluso? Beth sydd yn peri i Dduw guddio ei wyneb? Wel, fe ddywed Duw wrthym pa le y mae ein bai, a pha beth yw y pechod sydd yn peri iddo guddio ei wyneb. Y mae gair i'w gael ond

ymofyn. Trwy y Gair; Gair mewn Gair. Duw trwy ei weision yn llefaru nes bo'r galon yn teimlo. Fe gaem hyny yn nymuniad y Salmydd. Pethau i'w cael ydynt. Golwg ar brydferthwch yr Arglwydd, y mae hyny i'w gael; golwg nes y byddom yn anghofio pobpeth arall; golwg nes codi dy fryd o'r pridd tew, a rhoddi rhyw awydd ynot am fod yn debyg iddo. Ac y mae gair oddiwrth yr Arglwydd i'w gael hefyd, rhyw genadwri bersonol at y dyn heno; llais distaw trwy eiriau y Beibl i ddangos y bai, y ddyledswydd; gair yn gyfarwyddid i ni mewn profedigaeth. Pan yn y dyrys anialwch, y mae Duw yn moddion gras yn dyweyd rhywbeth a fyddo yn help i fyned yn mlaen trwy y cwbl. Disgwyliwn hyn. Amen.

## PREGETH XIV.

---

IOAN xiv. 21: "A minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo."

Y MAE y geiriau yn rhan o'r ymddiddan hynod rhwng Iesu Grist a'i ddisgyblion yn yr oruwch ystafell yn Jerusalem, wedi bwyta y Pasc, a sefydlu y Swper Sanctaidd. Y mae rhai pethau yn yr ymddiddan yn cael eu cydnabod yn gyffredin yn anhawdd iawn eu deall; feallai yn fwy felly nag unrhyw ran arall o'r gyfrol ddwyfol. Ond pa mor anhawdd bynag y gallant fod, y mae amcan y cwbl yn eithaf eglur, a hyny ydyw, parotoi meddyliau ei ddisgyblion ar gyfer amgylchiadau newyddion y byddent ynddynt yn gyffredin wedi colli yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd Iesu Grist wedi dyweyd wrthynt amryw weithiau mai felly y byddai. Canys yr oedd efe yn dysgu y disgyblion, ac yn dywedyd wrthynt y traddodid Mab y Dyn i ddwylaw dynion, ac y lladdent ef; ac wedi ei ladd, yr adgyfodai y trydydd dydd. Ond rhyw eiriau tywyll oeddynt; a chwanegir gan yr Efengylau, "A hwy ni ddeallasant y gair hwn." Yr oedd y syniad oedd ganddynt am y Messiah yn gysylltiedig a'u creadiniaeth, yr hon sydd yn cau allan yr ystyr sydd yn naturiol i ni. Nid oedd ganddynt un syniad am Iesu Grist yn myned i'w orsedd trwy angeu. Y mae tristwch yn llenwi eu calonau. Ni wyddent pa fodd i fyw hebddo ef, yr hwn oedd yn eu cysuro yn mhob trallod. Teimlent yn ddiogel a chysurus yn ei gwmni ef. Y mae Iesu Grist yn eu gweled yn hollol anghymwys i'r dyledswyddau oedd o'u blaenau mewn teimlad fel yna, ac yna y mae yn eu parotoi a'u cysuro. A gellid meddwl ei fod wedi gwneyd defnydd o bob peth cyrhaeddadwy er mwyn cyrhaedd yr amcan hwnw.

Yn y testyn y mae yn sicrhau iddynt y byddai iddynt, er colli ei bresenoldeb corphorol, barhau i fwynhau cymdeithas yspryd âg Ef. "Nis gadawaf chwi yn amddifad, mi a ddeuaf atoch chwi." "Eto enyd bach, a'r byd ni'm gwel mwy; eithr chwi a'm gwelwch, canys byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd." Y mae rhai yn cyfyngu y geiriau yna i'r amgylchiadau yn hanes Iesu Grist, a gymerodd le yn ystod y deugain niwrnod cyn iddo esgyn i'r nefoedd. Ond cam amlwg â'r geiriau fyddai eu cyfyngu i'r amgylchiadau hyny.

Yn y testyn y mae yn gosod ger eu bron y cymhwysderau angenrheidiol i fwynhau yr amlygiadau hyny ohono. "Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i." Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo mewn dirnadaeth o'u hystyr, a theimlad o'u hawdurdod, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i. Nid teimlo colled ar fy ol yn unig. Gallwch gael hyny heb wir gariad ataf. Ond yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i. A'm gorchymynion i ydyw i chwi ymddiried yn fy ngofal am danoch. Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw yr hwn sydd yn fy ngharu i. A'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i. Y mae fy Nhad i yn fy ngharu i mor fawr, fel y mae yr hwn sydd yn fy ngharu i yn dyfod yn wrthddrych serch fy Nhad. Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod i yn dodi fy einioes, fel y cymerwyf hi drachefn. Nid ar y drefn gyfathrachol y mae y drefn gyfryngol yn gorphwys. Yr anwyl Fab oedd Efe, y priod Fab, yr Hwn oedd yn mynwes y Tad, yr Hwn oedd yn ymlawenhau ger ei fron ef bob amser; eto, "Am hyn y mae y Tad yn fy ngharu i, am fy mod i yn dodi fy einioes, fel y cymerwyf hi drachefn." Y mae y Tad yn teimlo rhyw gariad mwy

ynddo tuag ataf fi am farw yn eich lle. Yr hwn sydd yn fy ngharu i a ddaw yn wrthddrych serch neillduol fy Nhad; a minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo. Pan y byddwch wedi fy ngholli o'r byd yma, "minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo."

*I. Ystyr y datguddiad, yr eglurhad a roddir gan Iesu Grist ohono ei hunan i'r rhai a'i carant Ef:* "Minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo."

*II. Y cymhwysder sydd mewn cariad i dderbyn y datguddiad hwn ganddo:* "A'r hwn sydd yn fy ngharu i, a gerir gan fy Nhad i, a minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo."

*I. Ystyr yr eglurhad a roddir gan Iesu Grist ohono ei hunan i'r rhai a'i carant ef.*

Yr ydym wedi dyfod i le sanctaidd iawn. Y mae y pwnc yn ein harwain i gysegr sancteiddiolaf crefydd, at rywbeth na ŵyr yr annuwiol ddim am dano. A phan y clyw rhai son am dano, y maent yn ameu yn y fan. Y mae rhyw *phantasm*, rhyw orphwylldra crefyddol yn meddianu pobl. Nid oes dim datguddiad oddiwrth Iesu Grist yn y byd, meddant. Ond erbyn i chwi edrych i mewn i'r mater, y mae yma rhyw eglurhau i ni, ac nid i'r byd; rhywbeth na ddichon y byd ei dderbyn. "Yspryd y gwirionedd, yr hwn ni ddichon y byd ei dderbyn, am nad yw yn ei weled, nac yn ei adnabod." "Eithr dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o yspryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef, ac nis gall eu gwybod, oblegid yn ysprydol y bernir hwynt." "Eithr y mae genych chwi eneiniad oddiwrth y sanctaidd hwnw, a chwi a wyddoch bob peth." Y mae yma rywbeth neillduol nad edwyn neb mohono ond yr hwn sydd yn feddianol arno.

Beth allai hwnw fod? Wel, yr ydych yn gweled i gyd

mai nid peth corphorol ydyw. Yn lle y corphorol y mae yn cael ei addaw, i wneyd i fyny am y golled o Iesu Grist trwy synhwyrau y corph y mae yn cael ei roddi. Y mae rhai pobl yn disgwyl peth fel yna. Ond nid oedd y bobl gafodd hyny fwyaf wedi cael yr amlygiadau yma o Iesu Grist. Nid oedd ei frodyr yn credu iddo: rhai wedi eu geni o'r un fam, a sugno yr un bronau ac wedi eu magu ar yr un gluniau, ac wedi cysgu yn yr un gwely. Ond nid oeddynt wedi cael y datguddiad hwn am Iesu Grist. Nid peth fel yna ydyw.

Nid peth dychymygol ydyw ychwaith. Y mae rhai fel yn ceisio perswadio eu hunain eu bod yn gweled Iesu Grist. Ac yn wir, dyna ydyw Pabyddiaeth. Dyna ei lun yn y preseb yn y fan acw; a dyma ei lun yn yr ardd, yn ei ing a'i chwys; yn y fan yna a'i groes ar ei gefn, ac yma ar y groes, a'r bobl yn edrych arno. Dacw un wraig yn myned i lewyg. Y maent, meddent hwy, wedi gweled Iesu Grist. Pabyddiaeth ydyw hynyna; ond y mae yn bosibl iddo ddyfod hefyd i gapelydd y Methodistiaid; y pregethwr yn y pwlpud yn rhoddi darluniad barddonol, a'r bobl yn meddwl eu bod yn gweled y Person, tra nad oes yna ddim ond darluniad y pregethwr. Nid dim dychymygol ydyw hyn.

Nid dim pynciol, neu athrawiaethol, ydyw. Nid datguddiad o un *fact*, neu wirionedd newydd, ydyw ychwaith. Nid rhywbeth yn rhy wan yn y pethau sydd genym, a rhywbeth yn y meddwl yn gweithio yn erbyn pob athrawiaeth. Na, "Oni wrandawant ar Moses a'r prophwydi, ni wrandawant chwaith pe codai un oddiwrth y meirw." Nid rhywbeth fel yna ychwaith ydyw. Nid ydym i ddisgwyl datguddiad mwy.

Wel, beth ydyw? Nis gallaf ddyweyd. Hyny yw, wrth neb sydd heb ei gael. Eglurhad Iesu Grist ei hun ydyw, "A minau a'i caraf ef ac a'm hegluraf fy hun

iddo." Y mae hyn fel pob peth arall. Nis gellwch adnabod un gwrthddrych ond trwy synwyr priodol y gwrthddrych hwnw: lliwiau â'r llygaid, seiniau â'r glust. Trwy y synwyr ei hunan yr ydych yn dyfod i'w gwybod. Felly hefyd pethau profiad, nis gellwch eu dysgu ond trwy brofiad. Tybiwch fod yma rywun heb weled *orange* erioed. Meddyliwch ar ol tê, dyna yr *orange* yn cael ei ddwyn i'r bwrdd. Beth yw hwn? Rhyw ffrwyth da ydyw. Dyna y dyn yn cymeryd yr *orange* yn ei law, ac yn ei ddarlunio i'r person nad yw yn gwybod dim am dano. Y mae yn dyweyd pa beth yw ei bwysau, pa beth sydd ynddo; y mae yn dyweyd pa sut y mae yn tyfu, ac felly yn y blaen. Yn awr y mae y dyn hwnw yn gwybod cymaint am yr *orange* a neb yn y lle? Na; nid yw yn gwybod ei flas. Ni fedr wybod ei flas wrth edrych arno, na'i deimlo. Rhaid iddo ei fwyta ei hunan.

Wel, y mae yr un fath yn gymwys gyda phethau y meddwl. Y mae yn rhaid cael y teimlad cyn y gallwn eu hadnabod. Y profiad sydd yn dysgu "Minau a'i caraf ef, ac a'm hegluraf fy hun iddo."

1. Y mae yn rhyw oleuni ar y datguddiad sydd genym. Y mae yn dwyn goleuni ar Iesu Grist; ac y mae yn dwyn sicrwydd i feddwl y dyn o'i wirionedd. Y mae pawb yn sicr o'r peth y mae yn ei weled. Y mae y dyn yn o siwr o'r peth glywodd, ond y mae yn eithaf siwr o'r hyn a welodd. "Hyd oni wawrio y seren ddydd yn eich calonau."

2. Y mae hyn yn rhyw oleuni ar Iesu Grist yn yr addasrwydd sydd ynddo i gyfarfod amgylchiad pechadur fel y cyfryw.

3. Y mae yn rhoddi hyder yn y meddwl am gadwedigaeth bersonol trwyddo.

*II. Y cymhwysder sydd mewn cariad i dderbyn y datguddiad hwn ganddo.*

1. Cariad rydd werth ar hyn. Y mae cariad ato yn rhoddi gwerth ar ei bresenoldeb. Nid oes neb yn caru gweled ei elyn ; ond y mae dyn yn treulio llawer o'i amser gyda'i gyfaill.

2. Y mae cariad yn ein codi i agweddau cymhwys i'w bresenoldeb. Chwi wyddoch nas gellwch chwi ddim byw yn mhob man. Y mae yn well genych fyned oddiyno na bod yno ; oblegid y mae yna ddiffyg purdeb. Meddyliwch am deulu di-grefydd, annuwiol, a di-weddi. Haner uffern fyddai bod gyda hwynt.

Y mae coethder anfeidrol yn Iesu Grist. Ni allwch ddisgwyl ei weled ef yn mhob man. "Yr hwn a ddywed ei fod yn aros ynddo ef, a ddylai yntau felly rodio megis ag y rhodiodd efe."

3. Y mae cariad yn galluogi dyn i adwaen Iesu Grist pan y daw i'r golwg. Yn wir, y mae cariad ato yn deall trwst ei draed, yn ymdeimlo â'i bresenoldeb rywffordd. Y mae rhyw graffder yn nghlust y fam. Y mae rhyw lef wanaidd yn yr ystafell uwchaf yn yr adeilad yn disgyn ar ei chlust hi. Y mae cariad yn rhoddi rhyw awch ar y synhwyrau. Pan yr oedd y disgyblion wedi bod yn pysgota trwy y nos, ac heb ddal dim, dyma ryw un yn ymddangos ar y lan ; ond yr oedd y disgybl yr oedd yr Iesu yn ei garu yn ei adnabod o flaen pawb arall.*

---

* Y mae y bregeth hon yn ymddangos yn anorphenedig. Y nos y pregethwyd hi. Byddai yn digwydd weithiau nas gellid ysgrifenu ychwaneg oblegid y goleuni. Feallai mai felly yr oedd yn yr amgylchiad hwn.

## PREGETH XV.

Heb. vii. 25: "Am hyny hefyd efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod ef yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy."

Y MAE yn hysbys i bawb ohonoch mai amcan yr apostol yn llefaru hyn ydyw dangos rhagoriaeth Crist fel offeiriad ar yr holl offeiriaid dan y gyfraith. Y mae yma lawer iawn o brofion yn cael eu dwyn yn mlaen i ddangos hyny. Ac yn y fan yma y mae yn cael ei ddangos trwy y berthynas sydd rhwng Crist a Melchisedec. Yr oedd Melchisedec yn fwy na Levi ac Abraham. Y mae hyny yn cael ei ddangos trwy fod Abraham yn talu degwm iddo. Ond y mae y Beibl yn dyweyd fod rhai offeiriaid i fod yn ol urdd Melchisedec. Gan hyny, rhaid ei fod yn fwy na'r offeiriaid oedd yn ol urdd Aaron, gan fod Melchisedec yn fwy nag Abraham, ac Abraham yn fwy nag Aaron.

Ac y mae yr Offeiriad hwn wedi ei osod trwy lw: "Tyngodd yr Arglwydd, Ti wyt offeiriad yn dragywydd, yn ol urdd Melchisedec." Nid oedd un o'r offeiriaid dan y gyfraith wedi ei osod fel hyn; ac y mae yr apostol yn cysylltu tragwyddoldeb yr offeiriadaeth â hyn. Am nad oedd yr offeiriaid gynt i aros yn dragywydd, nid oedd yn werth gan Dduw roddi llw i'w cadarnhau. Y mae y Duw mawr yn gosod llawer o drefniadau nad ydynt i aros. Nid yw fod Duw wedi codi dyn a'i awdurdodi i gyflawni rhyw waith, ddim yn brawf fod hwnw i aros byth. Ond pa bryd bynag y cewch ef yn myned ar ei lw, gellwch fod yn sicr fod hwnw i aros. Wel, y mae wedi myned ar ei lw

yn y fan yma. Y mae wedi ei osod trwy lw. A'r rheswm am hyny ydyw, ei fod ef i barhau byth. Nid oes dim newid arno. Y mae i fyw byth. "Ond hwn, am ei fod yn aros yn dragywydd, sydd ag offeiriadaeth dragwyddol ganddo." Tyngodd yr Arglwydd, ac ni bydd edifar ganddo, Ti wyt offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec ; ac am ei fod yn aros yn dragywydd, y mae offeiriadaeth dragwyddol ganddo.

Yna y mae adnod y testyn yn dyfod i mewn—y cysur a'r cadernid sydd i bechadur yn y meddwl fod yr Offeiriad hwn i aros yn dragywydd, i fyw byth, i eiriol drosom ni. Beth yw yr amcan a gais efe osod allan yn y meddwl fod Crist i fyw byth ? Wel, " am hyny efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw." Ni buasai iechyd cwbl i'w gael oni b'ai fod ei offeiriadaeth yn dragwyddol. Yr oedd rhyw feddyginiaeth amserol i'w chael dan y gyfraith. Yr oedd yna waredigaeth dros amser ; ond nid oedd yna gwbl iachau, na rhyddhad cyflawn, na gwaredigaeth drwyadl. Nid oedd yn cyrhaedd yn mhell. Rhaid oedd cael gwaredigaeth wedi hyny, a'i hadnewyddu bob blwyddyn.

Nid oedd dim talu yn yr aberthau hyn, dim ond ysgrifen yn cydnabod y rhwymedigaeth, rhyw *note of hand*, a llaw-ysgrifen—rhyw gydnabyddiaeth fel yna. Yr oedd y Duw mawr yn cymeryd hyny am y tro. Ond yr oedd yn rhaid adnewyddu o flwyddyn i flwyddyn, am nad oedd talu. Ond wedi talu nid oes eisieu gwneyd hyny. Dyna y pechadur yn rhydd byth. Nid oedd yno dalu cyflawn. Ond yn awr, dyma iachawdwriaeth gyflawn—y cwbl wedi ei orphen. " Efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw."

Tybir mai ystyr y gair " cwbl-iachau " ydyw iachau dros byth. Felly y mae Dr. Brown yn ei gymeryd. Fe ddichon

iachau dros byth. Y mae yn cyrhaedd i dragwyddoldeb. Beth ydyw yr achos? Y mae yr offeiriadaeth yn cyrhaedd i dragwyddoldeb. Y maent yn cydredeg. Nid wyf yn ameu nad yw hyny yn gynwysedig yn y gair. Ond nid wyf yn ameu nad yw yr apostol hefyd yn cynwys meddwl arall. Nid yn unig, fe ddichon iachau am byth, ond y mae yn iachau yn gwbl, yn gyfan. Iechyd cwbl. Y mae yma effeithiolrwydd. Y mae y meddwl yna yn rhedeg trwyddo —fod effeithiolrwydd yr iachawdwriaeth yn gysylltiedig â thragwyddoldeb yr offeiriadaeth. Y mae lle i ofni nad yw y mater ag sydd gan yr apostol yn y benod yma yn cael cymaint o le yn ystyriaethau pobl dduwiol ag y mae yn haeddu.

Yr ydym yn gyfarwydd iawn â bywyd Crist ar y ddaear. Yr ydym i roddi lle mawr i'w fywyd ar y ddaear, o Bethlehem i Galfaria, ac i'w farwolaeth boenus ar y groes. Y mae hyny yn iawn. Nid oes modd rhoddi lle rhy fawr i'r naill na'r llall. Y mae yn anmhosibl meddwl gormod am fywyd Crist a'i farwolaeth. Ond eto, y mae y Beibl yn rhoddi pwys mawr ar fywyd Crist yn y nefoedd. Y mae yn byw eto wedi marw. Beth sydd genyf am fy mywyd, medd rhyw un? Marwolaeth Crist ar Galfaria. Wel, y mae hyny yn bod; ond nid dyna y cwbl. Y mae mwy na hyny. Y mae genym lawer iawn mwy o blaid ein bywyd na'i farwolaeth. Y mae marwolaeth yr Iesu yn Iawn i Dduw. Y mae hyny o blaid cadw. Ond y mae mwy eto o blaid cadw pechadur yma heddyw. Beth yw hyny? Bywyd drosom yn y nefoedd. Ei eiriolaeth lwyddianus, a'i waith yn awr yn ymddangos ger bron Duw. Y mae yn byw bob amser i eiriol drosom.

Wel, beth ydyw y pwys sydd yn hyny? Bywyd Crist yn awr yn y nefoedd. Pa berthynas sydd rhwng parhad bywyd yr Eiriolwr yn y nefoedd a chwbl iechyd y pechadur ar y ddaear? Enwaf ddau beth ar hyny:—

*I. Y mae ffydd yn myned at Iesu Grist byw, at Berson byw yr Iachawdwr.*

*II. O Iesu Grist byw y mae effaith sanctaidd yn dyfod i gyfnewid enaid pechadur.*

Am wn i nad yw yr oll o grefydd yn hyn yma: At Grist ac o Grist. Dyna grefydd: Myned at, a derbyn o hwn. Myned at, dyna beth mawr crefydd. Ac o hwn, trwy fyned at, y mae rhyw effaith yn dyfod o Iesu Grist. Byddai yn anmhosibl i'r ddau beth fod oni bai fod Iesu Grist yn byw yn awr bob amser. Ni buasai genym Grist i fyned ato, oni b'ai ei fod yn fyw; ac ni buasai dim rhinwedd yn dyfod o Grist, oni bai ei fod yn byw heddyw.

*I. Y mae genym Iesu Grist yn byw bob amser i fyned ato drwy ffydd.* Y mae yn rhaid i ffydd gael person byw· Nis gall weithredu hebddo. Rhaid iddi gael person byw. Dyna ydyw ffydd, ffydd yn Mherson byw y Gwaredwr. Y mae math o ffydd mewn hanes peth wedi bod; ond ffydd hanesiol ydyw hono. Y mae yn bosibl credu yr hanes am Iesu Grist, ond heb ffydd gadwedigol; credu yr hanes ei fod wedi bod yma, yn Bethlehem ac yn Nazareth, yn Galilea, yn gwneyd gwyrthiau, iachau y cleifion, a chodi y meirw, ac wedi marw ei hunan. Gallwch gredu yr hanes i gyd heb fyned ato. Credu yn ddiamheuol, ac eto, ni bydd yna ddim ond ffydd hanesiol.

Wel, beth sydd eisieu yn ychwaneg? Y mae yn rhaid ymddiried ynddo, myned ato, rhoddi eich hunain iddo, ymorphwys arno, ymaflyd ynddo. Nis gallwch wneyd hyn oni b'ai ei fod yn bod yn awr i fyned ato heddyw. Wel, y mae Iesu Grist yn bod heddyw i fyned ato. Gallwch roddi eich hunan iddo ac ymaflyd ynddo. Dyna ydyw ffydd: Myned at Berson Mab Duw yn y nefoedd. Nid ydym ni yn ceisio bychanu yr hanes am dano. Trwy yr hanes y

mae myned ato. Trwy yr hanes am y peth a wnaeth pan yma ar y ddaear, y mae pechadur yn myned at Iesu Grist —cael cymhorth i ymddiried ynddo, a nerth i gofio ei fod yn fyw, a pha beth a wnaeth. Gelli ei gael. Ni raid i ti fyned i wylo am dano, fel un wedi darfod, wedi marw, a'i gymeryd oddiarnat, fel y rhai hyny wrth y bedd. Na; gelli gael gafael arno, a myned ato. Y mae Iesu Grist yn fyw heddyw. Dyna ydyw ffydd, rhoddi ein hunain i Iachawdwr byw. Y mae genym Iesu byw, Prynwr byw, un sydd yn byw yn awr, i gymeryd achos pob pechadur. Y mae yn foddlon i'ch derbyn. Y mae yn dyweyd heddyw, "Yr hwn a ddel, nis bwriaf ef allan ddim." Y mae hwnw wedi bod ryw bryd. Na; y mae yn bod yn awr. Nid yw yr hanes am dano ar y ddaear ddim ond esboniad i ddangos beth yw yn awr. Dyna y defnydd sydd i'w wneyd o'r hanes. Gellir trosglwyddo y cwbl am dano at ei Berson anfeidrol, a chofio fod hwnw yn byw heddyw i dderbyn pechaduriaid. A dyma nerth y credadyn i gredu. Y mae Iesu yn y nefoedd yn cyd-ddioddef â'ch gwendid chwi. Y mae efe yn gwybod am danoch. Y mae yn Frawd yn y nefoedd yn byw bob amser i eiriol drosom. Gellwch fyned ato heddyw; y mae awenau y greadigaeth yn ei law. Dyna sydd yn creu ymddiried yn y credadyn. Y mae wedi marw, ond nid oedd hyny ond un peth. Trwy farw y daeth i feddiant o'r hawl i gadw. Daeth i feddiant o awdurdod ar bob peth; ac y mae yr awdurdod hono ganddo: "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef, ac ar y ddaear." Codwch eich penau, fy nghyfeillion, y mae pob awdurdod yn ei law. Y mae yr hwn fu farw eto yn fyw.

*II. Am ei fod yn byw bob amser y mae rhinwedd yn dyfod ohono i sancteiddio pechadur, pwy bynag a gredo ynddo.*

O Iesu Grist y mae ein sancteiddhad yn tarddu. Myned at Grist; a lle bynag y mae hyny, y mae rhyw

rinwedd yn dyfod o Grist. Yr ydym i gyd yn credu y pwnc mewn hanes. Derbyn o hwn, o'i gyflawnder Ef. Wel, ni fuasai hyn i gyd ddim yn bod, oni b'ai fod Iesu Grist yn fyw. Ni fuasai yn bosibl derbyn ohono, oni b'ai ei fod yn fyw heddyw. A wnewch chwi feddwl hyny? Y mae genyf bwnc, pe bawn yn medru ei ddwyn allan. Y mae gwahaniaeth rhwng dylanwad moesol ar y meddwl a derbyn rhinwedd ysprydol oddiwrth Berson. Y mae yna wahaniaeth. Y mae darllen hanes rhyw un da sydd wedi bod rywbryd yn cynyrchu dylanwad moesol ar feddwl dyn. Dyna chwi yn darllen am yr hen dduwiolion, yn darllen bywgraphiad a hanes bywyd dyn; gweled ei esiamplau da, ei wroldeb, ei gariad, a'i ffyddlondeb. Y mae hyn yn fendith. Y mae yn cynyrchu dylanwad moesol ar y meddwl.

Wel, dyna y pwnc: Ai rhywbeth o'r natur yna ydyw sancteiddhad pechadur? Ai dyna y cwbl? Ai dyna yw crefydd? A ydyw Crist i fod yn yr un rhestr a rhai fel yna? A oes dim gwahaniaeth ond gwahaniaeth graddau? Y mae yn fyw; ond, ai yr un peth o ran ei natur ydyw yr effaith sydd yn sancteiddio enaid pechadur a dylanwad moesol wrth ddarllen am ddynion da yn byw a marw? Pwy ateb a roddwch chwi? A oes yna ddim gwahaniaeth? Oes; gwahaniaeth anfeidrol. Gwahaniaeth deublyg; gwahaniaeth graddau, a gwahaniaeth natur. Yr wyf fi yn meddwl fod. Y mae rhywbeth yn nghrefydd y Beibl heblaw moesoldeb; rhywbeth heblaw hanes yn effeithio yn naturiol ar y meddwl. Y mae rhywbeth goruwchnaturiol yn nghrefydd y Beibl, neu nid yw ddim. Hanfod crefydd Iesu Grist ydyw y goruwchnaturiol.

Beth yw hyny? Effaith a rhinwedd goruwchnaturiol o Berson byw y Gwaredwr yn y nefoedd, trwy yr Yspryd Glan, yn troi enaid y pechadur sydd yn credu ynddo. Y

mae cymaint a hyn yn nghrefydd y Beibl. Y mae yma rywbeth ysprydol. A wyddoch chwi am yr Yspryd mewn crefydd. Y mae arnaf ofn ein bod yn aros gyda moesau! O, y mae yn hanes ffeind. Ond, a wyddoch chwi am rywbeth goruwchnaturiol yn eich troi, rhinwedd yn dyfod ohono?

Nid gwiw i ni ddadgysylltu marw Crist a'i fywyd yn y nefoedd. Yr oedd yn rhaid i Grist farw i gael rhinwedd i fyw drosom. Ond y mae haeddiant ei farwolaeth ar y groes ynddo yn awr. Nid rhyw hanes sydd yma am rywbeth wedi darfod a bod er's deunaw can' mlynedd. Nage; y mae holl haeddianau yr Iawn wedi eu cymeryd i mewn i'r nefoedd yn Mherson Mab Duw; ac y maent yn cael eu dangos, gan ei fod yn byw bob amser. Ac o'r haeddiant hwnw yn ei Berson byw, y mae rhinwedd achubol yn cyrhaedd pechadur ar y ddaear. Dyma ydyw crefydd, "Am hyny Efe a ddichon yn gwbl iachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at Dduw, gan ei fod yn byw bob amser i eiriol drostynt." Efe a ddichon yn gwbl iachau. Y mae digon o rinwedd ynddo. O, y mae ein clefyd mor ddrwg, fel na allasai holl ddylanwad moesol tragwyddoldeb mo'n gwella. Y mae dylanwad moesol yn tacluso tipyn. Y mae hyny yn gwneyd rhyw *finish* ar ddyn. Ond yr oedd ein clefyd ni mor ddrwg; yr oedd wedi treiddio trwy ein natur; yr oedd y galon yn ddrwg. Y mae rhywbeth ynom ni na all dylanwad moesol mo'i gyrhaedd.

Beth raid gael? Rhinwedd dwyfol goruwchnaturiol. Haeddiannau yr Iawn yn Mherson y Meichiau yn y nefoedd. Y mae rhyw allu dwyfol yn dyfod oddiwrth hwnw i gyrhaedd dy galon ddrwg. Dyma a dy wella. Ac y mae hyn yn ddigon. Efe a ddichon. Peidiwch anobeithio. Buaswn i yn anobeithio am fy achub byth, pe na buasai ond hanes am Fab Duw wedi marw; pe na buasai

dim arall. Ni buasai hanes am gariad y Duwdod yn rhoddi y Mab ddim yn ddigon. Ni buasai hanes am Iesu Grist yn rhoddi ei hunan i farw ddim yn ddigon. Buasech yn myned yn galetach o hyd. Buasem yn troi y cwbl yn achlysur i bechu yn erbyn Duw yn fwy. Ond dyma ddigon ar gyfer y drwg mawr sydd mewn pechod. Y mae yr Iawn heb ddarfod ei haeddiant yn y nefoedd. Y mae yna ystôr anfeidrol wedi ei drysori yn ei Berson ef; a gallwn ninau drwy ffydd dderbyn ohono. Byddwch fyw yn agos iawn ato. Cymdeithaswch lawer âg ef yn y nefoedd, a dowch yn iach yn y man ; ie, yn gwbl iach, ar ddelw y Brawd hynaf, heb frycheuyn na chrychni, heb ond ôl yr iachawdwriaeth i'w weled arnoch byth. Duw fendithio hyn. Amen.

## PREGETH XVI.

RHUF. x. 8, 9: "Eithr pa beth y mae efe yn ei ddywedyd? Mae y gair yn agos atat, yn dy enau ac yn dy galon: hwn yw gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu; mai os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig fyddi."

Y MAE geiriau y Beibl i ninau; ac y mae y genedl hon yn ddrych i ni weled ein hunain. Tuedd gyson sydd ynom ni i feddwl am ereill, ac i daflu geiriau y Beibl yma yn mhell oddiwrthym. Yr ydym braidd yn rhyfeddu fod y genedl Iuddewig yn ymaflyd cymaint yn ei ffurfiau a'i defodau. Pe baem ni yn adnabod ein hunain, y mae yr un duedd ynom ninau. Y mae yn newid ychydig, feallai, ar ei gwisg; ond yr un peth yw hi ag oedd yn ngwlad Judea, ac yn Rhufain, sef y duedd i aros dan ffurfiau, ac ymorphwys ar ein hunan-gyfiawnderau. Nid crefyddwyr yn unig sydd yn agored i hyn. Y mae rhyw gyfiawnder gan bawb. Y mae pawb yn meddwl myned i'r nefoedd; ac nid oes neb yn meddwl myned yno heb ryw gyfiawnder. O, mor barod ydyw dynion i ddyweyd wrth eu gilydd, "Y mae yn hen bechadur, ond y mae yn well na llawer." Dyna ydyw; dyna yw gwneyd cyfiawnder i ni ein hunain. Pe baem heb ddim cyfiawnder ein hunain, ac yn gweled ein hunain felly, byddai yn bosibl i ni chwilio am gyfiawnder yn rhyw un arall. Neu, buom, feallai, yn meddwl fod ein cyfiawnder yn ddigon. Yr ydym yn cymysgu ein cyfiawnder â thrugaredd, ac yn meddwl dyfod i fyny felly. Y mae ynom beth daioni, ac i wneyd i fyny y diffyg, y mae Duw yn drugarog ac yn maddeu. Y mae tuedd fel yna yn agos iawn atom. Yr un peth ydyw a'r

hen egwyddor y mae yr apostol yn ysgrifenu cymaint yn ei herbyn. Peth yn eich cadw oddiwrth Iesu Grist ydyw, gan ymlynu mewn rhywbeth o'ch heiddo eich hunain yn lle dyfod at Grist.

Ac y mae yn bosibl i ddyn ddilyn hyn ar ol dyfod at grefydd, er gwneyd proffes o Iesu Grist. Yr ydym yn dueddol iawn i aros yn hyny. Yr ydym yn newid y dull. Yr oedd yr Iuddewon yn yr ymarferiad o'r aberthau o hyd; ac yr ydym ninau yn gwrando. Byddaf yn ei theimlo yn anhawdd i gael dyn i gredu hyn. Y mae yn rhaid i ddyn gael gwneyd rhywbeth. Ac os na chaiff weithredoedd, rhydd y credu yn weithredoedd. Y mae yn eu gwyrdroi. Ceisiaf wneyd cyfiawnder o'r credu.

Wel, y pwnc sydd gan yr apostol ydyw dangos mai perthyn i'r hen gyfamod y mae hyny. Y mae Moses yn ysgrifenu am y cyfiawnder sydd o'r ddeddf, mai y dyn a wnel y pethau hyny a fydd byw drwyddynt. Trwy wneyd yr oedd—y dyn a wnel y pethau. Ond y mae wedi newid yn hollol yn awr. Y mae Duw wedi cymeryd y gwneyd i'w law ei hunan. Duw sydd yn gwneyd mewn cyfammod *i* weithredoedd dyn.

Ond yn y cyfammod gras, onid oes gwneyd? Oes. Ac yn awr y mae gwneyd. Yn y cyfammod gras y mae gweithredu. Ond Duw sydd yn gweithio. Wel, beth sydd i ddyn ei wneyd? Ymdaflu ar dderbyn trefn Duw, gorphwys, pwyso. Y mae y Beibl yn ei ddwyn i ddau beth: Cyffesu â'r tafod, a chredu â'r galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw.

Na ddywed yn awr, Pwy a esgyn i'r nef? Y mae hyny yr un peth a dwyn Crist i waered oddiuchod. Neu, Pwy a ddisgyn i'r dyfnder? Ni raid i chwi drafferthu i enill bywyd trwy ddringo i fyny i'r nefoedd, neu gloddio i lawr

am dano i'r dyfnder. Y mae yn nes atom ni, yn ein hymyl. Y mae Duw wedi ei wneyd. "Y mae y Gair yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon ; hwn yw Gair y ffydd, yr hwn yr ydym ni yn ei bregethu :" y Gair, yr Efengyl sydd yn dangos trefn cadw trwy gredu ; yr hon yr ydym ni yn ei phregethu i chwi. Gair y ffydd, hyny yw, trwy ffydd. Y mae yn gynwysedig yn hyn : Os cyffesi â'th enau yr Arglwydd Iesu. Y mae yn debyg fod y Gair yn cyfateb i'r cyntaf, i'r gau, sef, "Na ddywed yn dy galon, pwy a esgyn," &c. Wel, beth a wnaf? Cyffesu yr Arglwydd Iesu sydd wedi dyfod. Nid myned yno i chwilio am Iesu Grist, ond cyffesu â'th enau yr Arglwydd Iesu ; neu, feallai, yn fwy priòdol, Os cyffesi â'th enau yr Iesu yn Arglwydd. Y mae yr Iesu yn enw arno wedi iddo ymddangos, wedi iddo ddyfod. Cyffesu hwnw, yr un sydd wedi dyfod yn y cnawd, ac wedi byw ynddo. Cyffesu ynddo—dyna y cwbl.

A hefyd, nid cyffesu heb gredu. "Credu yn dy galon i Dduw ei gyfodi Ef o feirw." Nid myned i chwilio i blith y meirw am fywyd ac aberth ; ond credu i Dduw ei gyfodi ef o feirw. Cadwedig fyddi. Dyna y mater :

*Y peth mawr yn nhrefn cadwedigaeth—fod Duw wedi cymeryd hyny yn ei law ei hunan ; a thrwy hyny fod iachawdwriaeth yn ymyl ; yn agos, o fewn cyrhaedd pwy bynag a ddêl, pwy bynag a gredo am fywyd tragywyddol.*

Y mae y gwneyd i gyd yn perthyn i Dduw yn y drefn ; a'r cwbl sydd i bechadur am ei fywyd ydyw derbyn. Y mae gwaith mawr mewn cadw ; ond y mae y gwaith mwyaf wedi ei wneuthur. Y mae y drefn yn eich ymyl. Ni raid i chwi chwilio, nac oedi. Y mae pob peth yn barod. Y mae Duw wedi, ac yn gwneyd, pob peth ; ac y mae pob peth y mae Duw yn ei wneyd i'w gael i'r pechadur, dim ond ei dderbyn.

Y mae yma anhawsder. Nid gwaith bach yw credu. Ond y mae y gwaith mawr wedi ei wneyd. Peth bach mewn cymhariaeth yw credu. Ni raid i ti farw na thalu. Buasai yn darfod am danom felly. Y mae yr anhawsderau i ni wedi eu symud. Cymerodd Duw hwynt. Ac yn awr y mae cadwedigaeth a bywyd tragywyddol o fewn cyrhaedd y gwanaf—y gwanaf, y truenusaf, y dyn na fedr wneyd dim. Y mae modd i hwnw gael ei gadw. Dyn heb ddim i'w roddi, na'i gynal, y mae modd i'w gadw ef. Ni ddichon wneyd dim. Ac y mae Duw wedi cymeryd yr anhawsderau oll arno ei hunan. Cymerodd hwynt heb un eithriad. Y maent yn cael eu dangos mewn dau beth:

Yn gyntaf, Cael un o'r nefoedd i lawr. Yn ail, Codi un o'r dyfnder i fyny.

Dyna y ddau beth mawr. Rhaid cael hyny i gadw pechadur. Neu, fe fydd yn rhaid i chwi feddwl mai peth bach yw trefn Duw. Diameu mai dyma y ddau beth mawr. Dyma fwy nag a allasai dynion nac angylion ei wneyd byth. Fe ofalodd Duw yru Un digon mawr i lawr; ac fe ofalodd am ei godi i fyny y trydydd dydd.

Cyffesu â'r genau yr Un sydd wedi dyfod eisoes o'r nefoedd. Ni raid i chwi ei gael i lawr, ond ei gyffesu, ei fod wedi dyfod o'r nefoedd. Yr Arglwydd Iesu. Dyma y Person. Cyffesu ei Berson, a chredu yn ei waith. Cyffesu yr Iesu yn Arglwydd: fod y Person hwnw yn Arglwydd, ac fod y gwaith wedi ei orphen, a bod Duw wedi ei gyfodi Ef o feirw. Dyna y ffordd.

(1) Cyffesu y Person. Cyffesu fod Mab Duw wedi dyfod i waered. Gwnaeth Duw hyny, a dyna beth mawr! Dyna y gwaith mawr—y Person hwnw yn cymeryd ein natur ni. Nid oes dim, mewn cymhariaeth, i ti wneyd yn awr. Os bydd rhyw un yn ol, bydd ei waed ar ei ben ei hunan.

Daeth Mab Duw i lawr; cymerodd ein hachos. Dyma beth mawr! Yr oedd yn anmhosibl cael neb yn y canol rhwng Duw a ni. Yr oedd cadw pechadur yn beth mor fawr fel y buasai yn anmhosibl cael neb byth yn berson digon mawr, heb son am y gwaith. Y person sydd genym yn awr. Nid oedd neb i'w gael yn berson digon mawr, heb i un gogyfuwch a'r Tad ddyfod i lawr i'r ddaear. Yr oedd yn rhaid iddo ddyfod i lawr. Pe buasai un yn cynyg ei hunan ni buasai yn un canolog. Nid oedd neb canolog i'w gael ond yr Un yr oedd y ddwy natur yn ei Berson—Un yn cynwys y ddwy natur ynddo ei hunan. Peth mawr oedd cael trefn i gadw dyn—mawr iawn! O, ryfeddodau y drefn! Gallasai Duw greu un mawr, ond ni buasai yn ganolwr. Ni buasai yn y canol. Yr oedd y fath bellder rhyngom ni a Duw fel na buasai neb creadur byth yn medru cyrhaedd y canol. Ni fuasai dim son am y ddwy natur. Nid oedd dim cyfrif, dim mesur i fod ar y pellder. Pe buasai Gabriel yn rhoddi ei hunan i fyned i'r canol yn gyfryngwr, buasai pellder anfesurol rhyngom ni a'r canol wedi hyny. Ond yr oedd yn rhaid cael un i lanw y pellder. Nid cael rhyw un yn gyfryngwr oedd eisieu, ond un yn y ddwy natur. Ac nid oedd modd cael hwnw ond trwy i un cymaint a Duw ddyfod i lawr i gymeryd ein natur. Dyna beth mawr! Y mae hyny wedi ei wneyd. Y mae Duw a ninau yn un Person. Y mae ein natur ni mewn undeb â Mab Duw yn y nefoedd. Y mae dyn yn Dduw, a Duw yn ddyn. Y mae Person ein Cyfryngwr ni yn hollbresenol ac yn anfeidrol; ac eto, y mae yn medru cyd-ddioddef â'n gwendid ni. Y mae hyny wedi ei gael.

(2) Beth oedd y gwaith? Dyma waith mawr! Buasai y gwaith heb ei wneyd oni buasai am fawredd y Person. A dyma y gwaith, codi y Cyfryngwr, y Meichiau, o feirw—ei gyfodi Ef o feirw. Y mae hyn yn cynwys fod y gwaith

wedi ei orphen. Ac os ydych yn gweled anhawsderau, y mae y gwaith wedi ei selio yn adgyfodiad yr Arglwydd Iesu o'r bedd.

Beth sydd ar eich ffordd, feddyliech, fy mhobl, i gael bywyd tragywyddol? Y mae yn rhaid talu y ddyled. Y mae hyny wedi ei wneyd. Rhaid boddloni cyfiawnder. Y mae hyny wedi ei wneyd. Ni raid i ti dalu dim heno. Nid yw hyny ar eich ffordd heno. Y mae y cwbl wedi ei dalu. Nid yw cyfiawnder ar ffordd neb. Y mae y gyfraith wedi ei boddloni. Y mae pob peth wedi ei symud oddiar y ffordd. A chodwyd Ef o feirw i brofi iddo roddi boddlonrwydd yn y nef. Yr oedd pechodau myrddiynau yn gorphwys arno: pechodau am ganrifoedd. A'r prawf eu bod wedi eu talu yw ei fod Ef wedi cyfodi o feirw.

Wel, y mae yr iachawdwriaeth yn ein cyrhaedd. Nid oes dim i ni ei wneyd ond ei derbyn hi; dim ond i chwi dderbyn Iesu Grist. Y mae y cwbl wedi ei symud. Ac nid oes ond dau beth yn aros i ni i'w gwneyd, sef cyffesu a chredu. Rhoddwch barch iddo Ef; credwch Ef a dilynwch Ef: yr Iesu mawr, y tragywyddol Fab; fe ddaeth i'n natur ni. A chwi gewch weled yn y farn y bydd yn beth mawr credu ynddo a'i gyffesu: "Y neb fyddo cywilydd ganddo fi a'm geiriau yn yr odinebus a'r bechadurus genhedlaeth hon, bydd cywilydd gan Fab y dyn yntau hefyd pan ddel yn ngogoniant ei Dad, gyda'r angylion sanctaidd."

Dyna ydyw cyffesu. Y mae addysg i'w chael i ni wrth edrych i mewn i ystyron geiriau fel hyn. Wel, dyna ydyw ystyr y gair cyffesu, dyweyd yr un peth a Iesu Grist; dyweyd y gwir ac heb gywilydd ohono. Y mae yn cynwys fod dyn yn dyweyd yn ddiragrith yr un peth ag Iesu Grist. Dywed dithau yr un peth. Dyma un ran o gadwedigaeth pechadur: dyweyd yr un peth a'r Iesu. Darllenwch ei eiriau Ef yn y Beibl. A ydych yn dyweyd yr un peth ag

Ef? A ydych chwi yn mhob man yn dyweyd yr un peth? Yr un peth am bechod? Nid rhagrithio, ond dyweyd y gwir yn ddiragrith am dano. Yr un peth am y byd, am yr enaid, a'r farn, a byw yn dduwiol? Yr un peth am y gyfraith a'r gorchymynion?

O, gyfeillion, mynwch galon i ddyweyd yr un peth a'r Iesu. Dywedwch yr un peth ag Ef. Fe gymer ef eich gofal wedi hyny. Doed fel y delo, dywedwch yr un peth a'r Iesu. Ei gyffesu â'r genau yn mhob man. Pa le bynag y byddoch cyffeswch Ef, pe baech yn haner merthyron drosto. Cyffesodd rhai ef hyd farw. Dyna ystyr y gair merthyru—cyffesu: dwyn tystiolaeth i Fab Duw. Cyffesu yr Iesu yn Arglwydd yr oeddynt. Pwy ydyw eich Harglwydd chwi? Cyffeswch ef. Y mae y byd, y cnawd, a dynion yn arglwyddi. Ond cyffeswch yr Iesu yn Arglwydd. A chredwch â'r galon i Dduw ei gyfodi Ef o feirw. Ni raid i ni geisio talu y ddyled. Y mae y gair yma yn *centro* ein sylw ar Fab Duw. Ymafael ynddo Ef. Y mae bywyd tragywyddol yn troi ar gael gafael ynddo Ef yn unig. Y mae gwaith mawr mewn crefydd. Pwysa dy enaid ar Fab Duw: dyna ti yn saff y fynud hono. Mewn ystyr y mae y cwbl wedi ei wneyd yn haeddianol a rhinweddol yn marwolaeth yr Arglwydd Iesu. Ond o ran amser, y mae gwaith mawr heb ei wneyd eto. Y mae gwaith mawr arnom ac ynom. Y mae y gwaith mawr wedi ei wneyd drosom? ond beth ddaw ohonof eto? Ni byddaf yn gadwedig eto heb rhywbeth mawr. Y mae y gwaith yn haeddianol wedi ei wneyd yn Iesu Grist. Cred i Dduw ei gyfodi Ef o feirw. Y mae rhinwedd yn dyfod oddiyna. Os awn i ymladd yn ein nerth ein hunain, fe gawn ein gorchfygu eto. Ond trwy gredu yn yr Hwn a'i cyfododd Ef o feirw, fe fydd genyt nerth. Y mae y cwbl wedi ei wneyd drosom yn angeu yr Iesu; ac fe'i cyfodwyd ef i fyny, ac y mae credu ynddo yn rhoddi buddugoliaeth ar bechod ynom.

Beth sydd i ni ei wneyd? Dim ond credu. Credwn faddeu ein pechodau. Credwn yn hen gyfundrefn Duw. Fe ddilëir beiau yr oes yn union. Credwn am fodd i faddeu hyd y diwedd. Y mae y cwbl yn dyfod o'i adgyfodiad Ef. Y mae ei adgyfodiad Ef yn dyfod yn adgyfodiad i tithau. Dim ond credu, byddwn yn nghôl yr Iesu ; a bydd holl rinweddau ei angeu yn cael eu cymhwyso at ein heneidiau i'n golchi oddiwrth ein holl bechodau.

Wel, onid ydych yn meddwl fod trefn y cadw yn bur agos? Ac eto, y mae yn bosibl i chwi fyned trwy y gwrando yma heb eich cadw. Y mae yr anhawsderau wedi eu symud. Wele anhawsderau o dy fewn eto. Y mae Duw yn cymeryd y rhai hyny. Fe rydd ei gymeriad anfeidrol y dwg efe y gwaith i ben. Y mae adgyfodiad Iesū Grist yn sicrhau y cei dy gadw. Y mae yma sicrwydd am bob peth fydd yn eisieu i ddiwedd yr yrfa. Codi yr Iesu o'r bedd. Dyna y peth mawr! Adgyfodiad yr Iesu, y mae pobpeth ynddo ; pob peth ag sydd yn eisieu ar bechadur. Dim ond iddo ef gredu. Nid oes dim credu iawn heb gyffesu. Y maent wedi eu cysylltu a'u gilydd. Chwi sydd yn cyffesu heddyw, a ydych wedi credu ynddo? Dyna gwestiwn am eich bywyd. Y mae yma rai ugeiniau yn ei gyffesu. A ydych yn sicr na thwyllwch mo honoch eich hunain? Y mae yn rhaid ei gyffesu, gyfeillion. Cyffeswch ef yn Arglwydd ar eich eneidiau. Ac wrth ei gyffesu, teflwch eich hunain ar ei Iawn. Y mae modd i ti gael dy achub. Y mae y peth mawr yn dy gyrhaedd. Yr ydych yn ymyl cadwedigaeth. Y mae rhai ohonoch yn teimlo cymhelliadau. Ac O, bobl, dyna sydd yn gwneyd anghrediniaeth yn bechod mor fawr, am fod iachawdwriaeth mor agos.

Pe buasai Duw yn gofyn i chwi fyned i'r nefoedd, a chloddio i'r dyfnder, buasai yn anmhosibl. Ond dyma y

drefn yn eich ymyl. Os gwrthodwch, chwi fyddwch yn ddyfnach na'r paganiaid. Y mae achub o fewn eich cyrhaedd heno. Y mae Duw wedi cymeryd y cwbl arno ei hunan. Ac y mae yn foddlon i gymeryd gofal y cwbl i'r diwedd. Dyna ydyw credu, rhoddi y cwbl ar Dduw: os carech gael deffiniad ohono yn niwedd yr oedfa. Pa sut y mae i mi gredu? Wel, dyna y cwbl, fy enaid, gâd dy hunan ar Dduw. Rho dy ofal ar y Drindod. Mentra dy fater tragywyddol i'r Duw mawr, a chadwedig fyddi. Byddi mor ddiogel a neb yn y nefoedd, ond gadael y cwbl i Dduw. Fe wnai hyny ei ôl arnoch tra byddech byw. Fe ddaw rhinwedd o adgyfodiad Iesu Grist i dy godi dithau yn ddyn newydd. Y mae adgyfodiad i ni yn ei adgyfodiad Ef. Os ydych am adgyfodiad mwy nag adgyfodiad y dydd olaf, fe'i cewch ynddo Ef. Dim ond mentro ar aberth Mab Duw, chwi ddowch i fyny trwyddo Ef.

A dyna ein neges eich cael ato Ef. Deuwn ato, y Ceidwad mawr, oll. Dim ond i ni fyw o hyd, gan gredu ynddo Ef, fe aem yn mlaen yn hapus trwy y byd yma. Ni fyddem, wedi hyny, yn gadael y cwbl yn y byd yma i Dduw; ac yn gadael rhwng Duw, a chyfiawnder, a'r farn, a thragwyddoldeb. Y cwbl fyddai genym ni fyddai byw i'r Hwn fu farw drosom; byw bob awr fel y dylem. Byw heddyw heb ofalu am yfory; oherwydd y mae gras o hyd trwy gredu. Bendith Duw ar hyn. Amen.

## PREGETH XVII.

DAT. ii. 7: "Yr hwn sydd ganddo glust, gwrandawed pa beth y mae yr Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi: I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw."

UN peth sydd yn ein rhwystro ni i gael y lles yn y Gair a ddylem gael o eiriau y gwirionedd, yw ein tuedd gyffredin i'w daflu yn mhell oddiwrthym. Byddwn yn arfer dyweyd weithiau am ffydd ei bod yn dwyn y pell yn agos. Feallai nad yw y dywediad yn hollol gywir. Nid dwyn y pell yn agos y mae ffydd, ond dangos pob peth fel y mae. Anghrediniaeth sydd yn taflu yr agos yn mhell. Ond y mae ffydd yn dangos pob peth yn ei le ei hun. Mae anghrediniaeth yn edrych ar bethau crefydd yn mhell iawn. Duw yn mhell, Iesu Grist yn mhell iawn. Ond y mae ffydd yn eu gweled yn agos atom. Mae anghrediniaeth yn eu taflu yn mhell o ran amser. Heb i ni ymdroi gyda'r lluaws o engreiphtiau, cymerwch eiriau yr adnod, "I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw."

Y mae yn debyg iawn fod y rhan fwyaf yn edrych ar gynwys y geiriau hyn fel rhywbeth draw yn mhell oddiwrthym, yn rhywle tua diwedd y daith; neu yn y byd tragywyddol, feallai. Nid ydynt yn meddwl fod a fyno y geiriau hyn â'n sefyllfa bresenol—fod yn bosibl gorchfygu y tu yma i'r bedd. Ac am hyny, nid ydym yn disgwyl cael bwyta o bren y bywyd nes myned trwy angeu. Nid dyna yr ystyr, mae yn ddiameu. Nid "Yr hwn a orchfyga" a ddywedir; ond "Yr hwn *sydd yn* gorchfygu."

Dyma yw y desgrifiad o'r Cristion yn awr. Y mae yn gorchfygu yn awr. Nid yw ddim yn cael llonydd, y mae yn wir, ar ol gorchfygu unwaith. Rhaid brwydro wedi hyny. Ond y mae yn gorchfygu yr ail dro ; ac yn myned yn mlaen o orchfygu i orchfygu, nes dianc yn bell o swn y brwydro i gyd. Ac mi feddyliwn i fod y rhan arall yn perthyn i'r Cristion yn y fuchedd hon. Rhoddaf iddo i fwyta yn awr ar ei daith, i'w gysuro wrth fyned yn mlaen. "Yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw," y mae yn wir. Yr ydych yn cofio fel y mae y Gair yn dyweyd yn y benod olaf o'r llyfr, "Yn nghanol ei heol hi, ac o ddau tu i'r afon, yr oedd pren y bywyd, yn dwyn deuddeg rhyw ffrwyth, bob mis yn rhoddi ei ffrwyth ; a dail y pren oedd i iachau y cenhedloedd." Y mae yn amlwg nad yw pren y bywyd o'n cyrhaedd. Y mae rhyddid i ni fwyta o'r pren sydd yn nghanol paradwys Duw, wrth fyned yn mlaen trwy y byd yma ; a'r ffordd i gael bwyta ydyw trwy orchfygu, "Yr hwn sydd yn gorchfygu." Dyna y ddau beth y cawn aros gyda hwynt.

*I. Gwaith y Cristion.*

*II. Gwobr y Cristion.*

Y gwaith a roddir o'i flaen yw gorchfygu. Yn nglŷn â hyny y mae gwobr yn cael ei haddaw, sef, bwyta o bren y bywyd.

*I. Gwaith y Cristion* Dyna y gwaith. Y mae pob Cristion yn orchfygwr. Nid oes dim sicrach. Os nad ydym yn gorchfygu, nid ydym yn wir dduwiol. Nid yw yn ddigon bod yn y frwydr yn ymladd. Rhaid gorchfygu. Nid cellwair ; nid gwneyd rhyw ystumiau, ond gorchfygu. Mae Iesu Grist yn rhoddi pwys mawr ar hyn. Y mae yn son am hyn yn mhob epistol at yr eglwysi. Yn yr epistol nesaf at eglwys Smyrna y mae yn dyweyd, "Yr hwn sydd

yn gorchfygu, ni chaiff ddim niwed gan yr ail farwolaeth." Wedi hyny drachefn, pan yn ysgrifenu at eglwys Pergamus, dywed, "I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwyta o'r manna cuddiedig." Ac wrth Thyatira y mae yn dywedyd fel hyn: "A'r hwn sydd yn gorchfygu, ac yn cadw fy ngweithredoedd hyd y diwedd, mi a roddaf iddo awdurdod ar y cenhedloedd." Ac wrth eglwys Sardis y dywed, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, hwnw a wisgir â dillad gwynion." Ac wrth Philadelphia, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid â efe mwyach," &c. A thrachefn wrth Laodicea y dywed, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd gyda mi ar fy ngorseddfainc, megis y gorchfygais inau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainc ef."

Peth mawr mewn crefydd yw gorchfygu, a pheth mawr i ninau yw deall pa sut i orchfygu. Ac i'r dyben i ni ddeall pa sut y mae gorchfygu y mae yn angenrheidiol deall pa sut y mae y diafol yn gorchfygu. Efe yw y prif elyn. "Nid yw ein hymdrech ni yn erbyn gwaed a chnawd, ond yn erbyn tywysogaethau, yn erbyn awdurdodau, yn erbyn bydol lywiawdwyr tywyllwch y byd hwn, yn erbyn drygau ysprydol yn y nefolion leoedd" Y mae genym ni elynion anweledig, a'r diafol yn benaeth arnynt. Ac y mae yn gorchfygu llawer iawn. Y mae yn cael pobl dduwiol i lawr weithiau. Y mae wedi gorchfygu rhai ohonynt hwy am dro. Eto, nid oes un dyn duwiol nad yw, ar y cyfan, yn orchfygwr ar y diafol a'r holl elynion ysprydol.

Y ffordd y mae y diafol yn gorchfygu yw trwy demtio. Yma y mae grym Satan a holl allu y tywyllwch. Ni fedd ddim grym arall i wneyd niwed i neb ond trwy demtio. Nis gall wneyd dim trwy allu anianyddol. Nid oes ganddo awdurdod i wneyd niwed i'ch cyrph a'ch meddianau. Y

mae wedi bod yn gallu gwneyd hyny unwaith. Ni wn i ddim pa sut y mae deall y Beibl heb ganiatau fod y diafol unwaith yn meddu awdurdod i niweidio dynion yn eu cyrph ac yn eu meddianau bydol. Yr oedd elfenau natur i raddau dan ei lywodraeth. Ond y mae yr Arglwydd Iesu wedi ei yspeilio ohono, mi feddyliwn, ar y groes. Y mae wedi gorfod *retreatio* i fyd y meddwl, ac wedi gorfod cyfyngu ei hun i'r fan yna. Ymwneyd â'n meddyliau y mae; a'r ffordd y mae yn gorchfygu yw trwy demtio. Y mae yn temtio trwy y byd. Y mae y byd dan ei lywodraeth. Y mae yn cymeryd mantais o'r byd i demtio. Y byd, y cnawd, a'r diafol; hyny yw, yspryd y byd. Yn yspryd y byd y mae y drwg. "Yr yspryd sydd yr awrhon yn gweithio yn mhlant anufudd-dod." Dyna ryw ddau air yn yr un adnod yn y fan yna: "Tywysog llywodraeth yr awyr," a'r "yspryd sydd yr awrhon yn gweithio yn mhlant anufudd-dod." Nid yr un un yw y tywysog a'r yspeilydd. Y mae yma ryw ddau. Tywysog ar yr yspryd. Y mae yn yspryd y dyn, a hwnw yw yspryd y byd. Yn y fan yna y mae perygl—myned i yspryd y byd. Anhawsder mawr ydyw byw yn y byd heb fyned i'w yspryd. Ymgymysgu â dynion y byd heb fyned i'w hyspryd! Ymddiddan am ei bethau heb fyned i'w yspryd! Prynu a gwerthu heb fyned i'w yspryd! Yma y mae y perygl; y mae y diafol yn temtio trwy yspryd y byd yma!

Wel, ni buasai yn gallu gorchfygu gymaint ag y mae oni buasai am y drwg sydd ynom—y cnawd. Y mae trwy y byd yn effeithio ar y cnawd a'r anian lygredig sydd o'n mewn. Gallodd ef, mae yn wir, orchfygu ein rhieni cyntaf heb fod dim drwg ynddynt, pan oeddynt yn ddibechod Gallodd demtio ein Harglwydd Iesu Grist; er nas gorchfygodd, yr oedd yn gallu temtio. Yr oedd yna rywbeth yn y dyn Crist Iesu yn ei wneyd yn agored i gael ei demtio.

Gwendid, mae yn debyg, oedd efe. Gwendid dibechod oedd yn yr Arglwydd Iesu Grist; ond yr oedd yn wendid. "Duw nis gellir ei demtio â drygau." Paham? Nid oes dim gwendid ynddo. Pe buasai ein Harglwydd Iesu Grist ddim ond Duw, buasai yn anmhosibl ei demtio. Ni ellir temtio Duw â drygau: y mae uwchlaw pob gwendid. Ond fe ddaeth Mab Duw i gyflwr i gael ei demtio, trwy fod yn gyfranog o'n gwendidau dibechod ni. Beth am danom ni? Y mae yma wendid pechadurus, ac anian lygredig, a chalon ddrwg diobaith—pwy a'i hedwyn? Y mae yma bob defnydd o fewn ein calonau i'r diafol effeithio ar ein meddyliau. Nis gallaf ddyweyd sut y mae yn effeithio ar eich meddwl chwi a minau, na pha fodd yr ydym yn effeithio ar feddyliau ein gilydd. Pa sut y mae un yn taflu ei feddwl i arall trwy y geiriau yn gwneyd swn? Y maent yn gwneyd swn; ond pa sut y mae hyny yn cyrhaedd meddwl y llall? Ni fedrwn ni mo'i amgyffred. Nid ydym yn amgyffred ein hunain. Ond y mae yn wirionedd sicr. Y mae cythreuliaid yn taflu eu temtasiynau i'n meddyliau ni i'n temtio bob dydd. Yma y mae grym y diafol—grym i demtio ydyw.

Wel, yn awr, y ffordd y mae yn temtio. Yn gyntaf, trwy dwyll; ac yn ail, trwy dywyllu. Nis gall wneyd mewn un ffordd arall. Y mae yn temtio trwy dwyll, ac yn twyllo trwy dywyllu.

1. Y mae yn temtio trwy dwyll. Y mae grym ei demtasiynau mewn twyll. Grym celwydd yw grym y diafol; ac y mae grym mawr mewn celwydd. Peidiwch a chamsynied. Y mae grym dychrynllyd mewn celwydd. Y mae yma hen gelwyddau yn bod yma er's canrifoedd, er's canoedd o oesoedd. Y maent fel y creigiau yn parhau hyd heddyw. Wel, y mae teyrnas y diafol yn sylfaenedig ar gelwydd er eich twyllo chwi. Fel yna y temtiodd ein rhieni cyntaf.

Y mae hyn yn dangos pa sut y mae i ninau ei orchfygu. Y mae ef yn gorchfygu trwy dwyll. Wel, y ffordd i ninau orchfygu yw trwy y gwirionedd ; ac nid oes un ffordd arall. Grym y Cristion yw grym y gwirionedd. Dyma rym! Nid oes dim cryfach na hwn. Arfau y gwirionedd: gwregys gwirionedd, cleddyf y Gair, gwirionedd Duw. Dyma y ffordd i orchfygu. A ydych yn orchfygwyr, gyfeillion? Yr ieuenctyd hoff yma, bobl ieuainc hardd, a ydych o ddifrif yn ymladd â'r diafol? A fyddwch yn meddwl weithiau am orchfygu yn y frwydr? A ydych yn peidio gildio iddo? Yr ydych yn gwneyd ystumiau ymladd; ond a ydych chwi yn gorchfygu? Yr ydym ni yn weiniaid. Ydym; ond y mae gwirionedd Duw yn gryf, heb ddim gwendid ynddo. Ein Duw ni, fe saif byth. "Ysgrifenais," meddai Ioan, "atoch, wyr ieuainc, am eich bod yn gryfion." Wel, sut y mae bod yn gryfion? "A bod gair Duw yn aros ynoch." Dyna lle y mae cryfder. "Gair Duw yn aros ynoch, a gorchfygu ohonoch yr un drwg." Yr ydym yn ysgrifenu atoch i'ch cyfarch. Paham? Yr ydych wedi gorchfygu yr un drwg. Yr wyf yn eich llongyfarch, wyr ieuainc, am eich bod mor gryfion, a bod Gair Duw yn aros ynoch. Ac yr ydych yn gallu gorchfygu yr un drwg. Dyma dir y mae yn bosibl i grefyddwyr ei gyrhaedd heddyw. Meddyliwch am hyn. Y mae yn bosibl i chwi gael eich traed, ieuenctyd hoff, ar y tir cadarn hwn—eich bod wedi gorchfygu yr un drwg. Pa fodd? Wel, trwy fod Gair Duw yn aros ynoch. Ynoch, cofiwch; nid eich bod yn ei drin ef, ac yn ei ddarllen ef, ac yn ei ddeall ef; ond ei fod yn aros ynoch. Yma y mae cryfder i wneyd rhai gweiniaid fel ni yn orchfygwyr ar ein gelynion. Y mae cryfder y diafol i demtio mewn twyllo. Y mae ein cryfder ninau mewn gwirionedd i orchfygu.

2. Y mae yn twyllo trwy dywyllu, trwy ddallu. Fel yna

y mae yn twyllo. Yma y mae ei gryfder eto i dwyllo. Pe baem ni yn medru ei ddilyn, a deall ei ddichellion ef, fe ddarfyddai y grym. Y mae yr Ysbryd yn canmol rhywrai, nad oeddynt heb ddeall ei ddichellion ef. Pa sut y mae yn twyllo plant dynion? Wel, trwy dywyllu eu meddyliau hwy. Fel yna y twyllodd ein rhieni cyntaf. Tywyllu rhyngddynt a'r Duw mawr, a thaflu rhyw hug drosto, a llèn dros y nefoedd. "Ai gwir ddywedyd o Dduw, Ni chewch chwi fwyta o bob pren yn yr ardd?" Taflu amheuaeth am Dduw. Tywyllu eu meddyliau am drugaredd a daioni Duw tuag atynt. Y mae yn bosibl ei fod wedi newid ychydig yn awr. Fe dwyllodd ein rhieni cyntaf trwy dywyllu eu meddyliau am ddaioni Duw. Ond yr wyf yn ofni y dyddiau hyn ei fod yn gwneyd hyny trwy eu tywyllu am gyfiawnder Duw. Y mae Duw yn rhy dda i gosbi. Y mae ar yr yspryd drwg eisieu cadw cyfiawnder Duw o'r golwg. Y ffordd i ni ei orchfygu ydyw yn y goleu. Yn y tywyllwch y mae grym Satan. Yn y goleu y mae ein grym ninau i'w orchfygu. Enw yr Arglwydd bob amser ger ein bron—dyna a'n ceidw yn ddiysgog. "Gosodais yr Arglwydd bob amser ger fy mron; am hyny ni'm hysgogir." A wyddoch chwi am hyn, gyfeillion? Yn ngoleu presenoldeb yr Arglwydd. Cofiwch fod Duw yn edrych arnoch. Cofiwch fod Duw yn gweled. "Pa fodd y gwnaf y mawr ddrwg hwn a phechu yn erbyn Duw?" Dyna fe wedi ei orchfygu yn union. Dyna y demtasiwn yn diffodd yn y fan. Dim ond cael Duw i'r golwg, dyna Satan wedi ei orchfygu. Gwyliwch golli Duw o'r golwg. Rhodio yn y goleuni. Fel yna y mae gorchfygu. Felly y mae plant y diafol yn twyllo yn gyffredin, yn y tywyllwch. Eu nwyddau hwy, mewn tywyllwch naturiol yn gyffredin y maent yn medru eu gwerthu. Y mae felly yn ysprydol gyda phethau y grefydd yma. Ni all y diafol aros yn y goleuni; y mae

yn dianc ; y mae yn ffoi o ŵydd Duw. Cadwch yn agos at yr Arglwydd, a rhodiwch yn ei gymdeithas. Gwyliwch na bo dim yn myned rhyngoch a gwedd wyneb yr Arglwydd.

Wel, fy nghyfeillion, dyma fi yn gadael y mater hwn. Y mae llawer o grefyddwyr yma ; a ydyw pawb yn orchfygwyr ? Y mae arnaf ofn fod rhai heb ddechreu ymladd o ddifrif, heb ddechreu gwisgo yr arfau. Y mae yma rai yn gwrando heddyw heb fod erioed yn brwydro â phechod. Y maent o ochr y diafol, a than ei faner. Y maent yn erbyn Duw a chrefydd ; y maent yn erbyn Crist a'i bobl, ac yn erbyn pob daioni. Pwy ochr ydym, gyfeillion ? A ydym wedi dyfod allan i ymladd yn nerth yr Arglwydd yn erbyn gelynion ein heneidiau ?

*II. Gwobr y Cristion.* "Rhoddaf iddo i fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw." Y mae yn ymddangos i mi fod hyn i'w gael yma. Yr ochr draw y cawn fyned i mewn i lawenydd ein Harglwydd. Ond y mae rhyw gymaint yma, yn yr anialwch sydd yn ein cynal ac yn ein gwobrwyo. Nid gwobr am y gwaith, ond gwobr yn y gwaith. Nid oes un athrawiaeth mwy ysgrythyrol na hon. Y mae yn dyfod a'i wobr gydag ef. Y mae yn gwobrwyo y rhai sydd yn ei geisio ac yn galw arno. Y mae gwobr mewn crefydd ; a pheidiwch taflu y cwbl naill du ; y mae rhywbeth i'w gael yn y brwydrau. Nid ymladd ydyw y cwbl. Yr ydym yn cael eistedd i fwyta. Ie ; bob tro y cei orchfygu rhyw elyn, fe gei fwyta. Bwyta a gorchfygu ; gorchfygu a bwyta o bren y bywyd weithiau. Feallai y cei erbyn diwedd y frwydr, er gorchfygu, dy glwyfo. Fe fydd dy waed yn rhedeg, a phicellau y diafol wedi effeithio ar dy fuddugoliaeth. Ni ddeui allan heb gael clwyfau ac archollion dyfnion yn fynych iawn. Ond dyma y ffordd i'ch gwella. Cewch eistedd i lawr, a bwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw.

Mi feddyliwn fod golwg yma ar y pren arall yn y baradwys ddaearol. Y mae dechreu y llyfr cyntaf, a dechreu y llyfr olaf, yn cyfateb i'w gilydd. Y mae yna son am baradwys, a phren y bywyd yn nghanol y baradwys hono. Ac yr oedd pren arall yno, pren gwybodaeth da a drwg. Yn hyn yr oedd y prawf—trwy orchfygu ; gorchfygu pob temtasiwn i fwyta y pren. Dyna oedd y prawf ; ac y mae yn amlwg i ni pe buasai Adda yn para i orchfygu y demtasiwn, y cawsai fwyta o bren y bywyd i'w ddiogelu am byth. Y mae y gair yn dangos hyny : "Rhag iddo estyn ei law, a chymeryd hefyd o bren y bywyd, a bwyta, a byw yn dragywyddol." Fe gauwyd y ffordd ; ni ddaliodd y prawf. Yn lle gorchfygu, fe gafodd ei orchfygu. A thrwy hyny, dacw y ffordd wedi ei chau. Y mae pren y bywyd daearol wedi ei gau. Y mae cerubiaid â chleddyfau tanllyd yn cadw ffordd pren y bywyd. Wel, yn gyferbyniol i'r cyfamod hwnw, dyma y cyfamod gras yn cael ei ddadlenu yn ein testyn heno. Yn y pen cyntaf fe syrthiodd dyn ; cafodd ei orchfygu yn y baradwys ddaearol yn nghanol pob cyflawnder. Nid oedd dim i'w demtio o ran eisieu. Yr oedd ganddo ddigon i'w fwyta. Ond rhywfodd aeth yn rhy wan er y cwbl, ac fe'i gorchfygwyd.

Ond yr Ail Adda,—yn ei dlodi yn yr anialwch, wedi bod yn newynu am ddeugain niwrnod,—dyma y diafol yn ymosod ar hwnw. Ond dyma yr Ail Adda wedi gorchfygu. Fe orchfygodd bob tro. Aeth yn mlaen i Galfaria ; ac wrth farw fe sigodd ben y ddraig am dragywyddoldeb. Ac yn ei goncwest ef y mae grym i ni i orchfygu trwy waed yr Oen ; a thrwy i'r Ail Adda orchfygu yr agorwyd y ffordd. Y mae y ffordd wedi ei hagor yn awr, nid at y cysgod ond at y Sylwedd. Y mae y ffordd at y cysgod wedi ei chau ; ond y mae y ffordd at wir bren y bywyd wedi ei hagor gan Adda yr Ail. Ond y mae yn rhaid i tithau orchfygu, cofia.

Wel, y mae yr Arglwydd Iesu wedi gorchfygu. Dyna bob peth drosodd? Na; y mae yn rhaid i ninau orchfygu. Y mae efe wedi dirymu pob temtasiwn. Nid oes dim grym ynddi yn awr. Y mae wedi myned o dan wraidd pob grym a feddai y diafol ei hunan. Y mae wedi ei rwymo er mwyn i ti gael ei orchfygu. Ond y mae yn *rhaid* gorchfygu. Rhaid gorchfygu yn awr yn y frwydr bob dydd. Rhaid cael goruwchafiaeth ar y demtasiwn, pan y daw, trwy gredu. Yn muddugoliaeth Iesu Grist y mae ein grym ninau i orchfygu y demtasiwn; a phob tro y cawn ni fuddugoliaeth, cawn fwyta o bren y bywyd. Y mae yma ras yn cael ei roddi. "Rhoddi gras mwy y mae." "At genfigen y mae chwant yr ysbryd a gartrefa ynom ni. Eithr rhoddi gras mwy y mae." Pan y mae y Cristion yn gorchfygu, y mae ei ras yn cryfhau; y mae yn myned ar gynydd; y mae yn fwy duwiol o lawer iawn. Gallai mai dyma ystyr y geiriau hyny, "Mwy na choncwerwyr." Fe fu llawer o goncwerwyr ar y ddaear yma, ond y mae plant Duw yn fwy na hwy. Pa sut y maent yn fwy? Y maent yn gryfach yn y diwedd nag yn y dechreu. Holl goncwerwyr y byd hwn, yr oeddynt yn wanach yn y diwedd nag yn y dechreu. Yr oeddynt wedi ysigo cryn dipyn. Er eu bod wedi dyfod trwy y frwydr yn orchfygwyr, yr oeddynt yn llawer gwanach. Nid oeddynt cyn gryfed i ddechreu brwydr arall. Nid fel yna y mae gyda phlant yr Arglwydd. Y maent yn gorchfygu eu gelynion yn y brwydrau ysprydol. Y maent yn gorchfygu am eu bod yn cael gras mwy. Y mae Duw yn rhoddi nerth newydd, ac ymgeledd newydd, ac yn eu codi i dir newydd bob tro y gorchfygant. Ti gei fwyta o bren y bywyd. Ti gei y nefoedd yn y dail. Ti gei y grawnsypiau yn yr anialwch. Peidiwch a byw, gyfeillion, heb ryw faint o'r nefoedd ar eich taith tuag yno. Y mae cysur i'w gael, heddwch cydwybod, wedi gorchfygu

pechod. Cael concwest ar ryw chwant—O, y mae yna gryfder! Fel yma y mae y Cristion yn cynyddu mewn gras trwy orchfygu. Nid oes cynydd heb gostio. Yr ydym yn disgwyl gras heb ddim trafferth na llafur. Yr ydym yn disgwyl cael heb iddo gostio dim i ni. Ar lwybr gorchfygu y mae i ni fwynhau y cysur sydd mewn gwir grefydd.

Yr wyf yn awr yn eich gadael. Nid oes genyf ond rhoddi y cwestiwn o'ch blaen chwi a minau, A ydym yn orchfygwyr? Y peth ydym yn awr sydd yn dangos beth fyddwn byth. Y dyn sydd yn gorchfygu bob dydd wrth fyned yn mlaen, hwnw a gaiff ganu yn y diwedd. Amen.

## PREGETH XVIII.

### AIL BREGETH.

DAT. ii. 7: "Yr hwn sydd ganddo glust, gwrandawed pa beth y mae yr Yspryd yn ei ddywedyd wrth yr eglwysi: I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw."

Y MAE y mater sydd yn yr adnodau yma yn cael lle mawr iawn yn yr anerchiad hwn i'r eglwysi. Y mae yr addewidion ychydig yn wahanol yn mhob eglwys. Yn y llythyr at yr eglwys yn Smyrna y mae yn dweyd, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, ni chaiff ddim niwed gan yr ail farwolaeth." Drachefn wrth yr eglwys yn Pergamus y mae yn dywedyd, "I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwyta o'r manna cuddiedig, ac a roddaf iddo gareg wen, ac ar y gareg enw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nid edwyn neb ond yr hwn sydd yn ei dderbyn." At yr eglwys yn Thyatira y dywed, "A'r hwn sydd yn gorchfygu, ac yn cadw fy ngweithredoedd hyd y diwedd, mi a roddaf iddo awdurdod ar y cenedloedd." Wrth eglwys Sardis y dywed, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, hwnw a wisgir mewn dillad gwynion; ac ni ddilëaf ei enw ef allan o lyfr y bywyd, ond mi a gyffesaf ei enw ef gerbron fy Nhad, a cher bron ei angylion ef." Wrth eglwys Philadelphia y dywed, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf ef yn golofn yn nheml fy Nuw i, ac allan nid ä efe mwyach: ac mi a ysgrifenaf arno ef enw fy Nuw i, ac enw dinas fy Nuw i, yr hon ydyw Jerusalem newydd, yr hon sydd yn disgyn o'r nef oddiwrth fy Nuw i: ac mi a ysgrifenaf arno ef fy enw newydd i." Ac wrth eglwys Laodicea y dywed, "Yr

hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd gyda mi ar fy ngorseddfainc, megis y gorchfygais inau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainc ef."

Gwelwch fod pwys mawr yn cael ei roddi ar fod yn orchfygwyr mewn crefydd.

*I. Y gwaith y'n gelwir ato, sef Gorchfygu.*

*II. Y wobr i'r Gorchfygwr:* "Rhoddaf iddo ef fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw."

*I. Gwaith y Cristion. Dyma y gwaith, Gorchfygu.* Nid ymladd yn unig, ond ymladd nes gorchfygu. O na fedrem gadw golwg digon astud ar y gwirionedd yma! Nid oes neb yn dduwiol os nad yw yn orchfygwr. Y mae llawer iawn yn ymladd â'u chwantau. Y mae y meddwyn felly; y mae mewn brwydr yn fynych â'i duedd a'i flys, weithiau am wythnosau yn brwydro; ond nid yw yn gorchfygu.

Dyna y cwestiwn yn y rhyfel, Pwy sydd yn gorchfygu? Yr ydych i gyd mewn anghytundeb weithiau â'r gelynion, ac yn penderfynu myned allan yn eu herbyn, ac yn gwneyd llawer o addunedau; ond wedi'r cwbl, y gelynion sydd yn gorchfygu. Ond y mae y Cristion yn brwydro, ac yn brwydro nes gorchfygu. "Yr hwn sydd yn gorchfygu."

Gorchfygu heddyw hefyd, ac nid yn angeu. Y mae yn gorchfygu bob dydd. Y mae yn rhaid ymladd wedi hyny. Daw y gelynion wedi hyny gyda grym mawr; ond y mae yntau yn gorchfygu bob tro. Y mae weithiau yn colli y dydd; ond nid yw yn ildio a throi cefn yn nydd y frwydr. Peidiwn darostwng y safon yn rhy isel. Nid ydym ddim yn dduwiol os nad ydym yn gorchfygu; ac yn gorchfygu, yn awr ar y daith, y byd, y cnawd, a'r diafol. Y mae pob plentyn i Dduw yma heddyw yn drech na'r byd, y cnawd, a'r diafol. Nid yn ei nerth ei hunan, ond trwy ras.

Cymerwch y byd: y mae yn orchfygwr yn y fan yma. Hyny y mae Ioan yn ei ddangos yn ei epistol, pan y dywed, "Oblegid beth bynag a aned o Dduw, *y mae* yn gorchfygu y byd." "Beth bynag;" nid ambell grefyddwr enwog; nid hen grefyddwr. Na, "Beth bynag a aned o Dduw, *y mae* yn gorchfygu y byd." "A hon yw yr oruchafiaeth sydd yn gorchfygu y byd, sef ein ffydd ni." Fe orchfyga hon yn y brwydrau bob dydd. "Sef ein ffydd ni." Nid yn ein nerth ein hunain, y mae y gair yn dangos, yr ydym i orchfygu, ond trwy ffydd. Peidiwch newid y Beibl yma. Yr hwn sydd ganddo ffydd sydd yn gorchfygu. "Yr hwn sydd yn credu mai Iesu yw Mab Duw." "Na ato Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn y croeshoeliwyd y byd i mi, a minau i'r byd." Nid oes gan y byd awdurdod arnaf fi; yr ydym wedi ein croeshoelio i'n gilydd. Y mae yn gorchfygu y byd yn ei wên, yn ei ŵg, yn ei ddull, ac yn ei arferion. Y mae yn orchfygwr trwy ffydd. Y mae ffydd yn gweled byd arall tudraw i hwn; ac yn yr olwg ar hwnw, y mae yn goncwerwr ar bob peth a fedd y byd hwn.

Hefyd ar y cnawd. Y mae yn gorchfygu y cnawd yn awr. Y mae y cnawd yn ei filwrio; ond efe ydyw y gorchfygwr. Nid oes gan y galon ddrwg ddim awdurdod i lywodraethu ar y dyn duwiol o gwbl. Fel y dywed yr apostol, "Gan wybod ddarfod croeshoelio ein hen ddyn ni gydag ef, er mwyn dirymu corph pechod; fel rhagllaw na wasanaethom bechod." Y mae corph pechod wedi ei ddirymu; nid oes grym ganddo. "Na theyrnased pechod, gan hyny, yn eich corph marwol, i ufuddhau ohonoch iddo yn ei chwantau. Ac na roddwch eich aelodau yn arfau anghyfiawnder i bechod; eithr rhoddwch eich hunain i Dduw, megis rhai o feirw yn fyw; a'ch aelodau yn arfau cyfiawnder i Dduw. Canys nid arglwyddiaetha pechod

arnoch chwi; oblegid nid ydych chwi dan y ddeddf, eithr dan ras." Nid oes ganddo arglwyddiaeth arnoch o gwbl. Dyna ydyw bod dan ras. Paid a bod dan arglwyddiaeth pechod. Lle bynag y mae gras yn teyrnasu, y mae y corph o bechod wedi colli ei rym: "Nid arglwyddiaetha." Y mae yn orchfygwr ar y cnawd.

Y mae yn orchfygwr ar y diafol. Nid wyf yn ewyllysio siarad yn ddibris am dano ef. Y mae ganddo rym; ac y mae wedi gorchfygu cedyrn y ddaear yma; ond y mae yma rai cryfach nag yntau, oherwydd y maent yn orchfygwyr ar y diafol ei hunan. "Ysgrifenu yr wyf atoch chwi, wyr ieuainc, am orchfygu ohonoch yr un drwg." Nid ysgrifenu y mae am iddynt orchfygu ar ol hyny, ond yn yr un ystyr ag y mae yn y Saesneg, "Because you have overcome the evil one." Yr ydych wedi gorchfygu yr un drwg. Yr ydwyf wedi clywed am danoch, eich bod wedi bod mewn brwydr â'r diafol; ac yr oedd yn dda genyf glywed i chwi ddyfod oddiyno yn orchfygwyr. Yr wyf yn ysgrifenu atoch i'ch llongyfarch ar y fuddugoliaeth. Y mae yn dda genyf am danoch; yr wyf yn anfon gair atoch, wŷr ieuainc, fel gorchfygwyr, nid ar elynion gweledig, ond *yr un drwg*. O, ieuenctyd Cymru! pa faint ohonoch sydd yn deilwng o'r anerchiad yma? Pe deuai Ioan yma, am ba faint o bobl ieuainc y gallai ddweyd, Yr wyf yn eich llongyfarch oherwydd i chwi orchfygu yr un drwg. Y mae hyn i'w gael yn y byd yma, yn yr oes hon. Ac nid yn unig hyny, ond y mae wedi ei gyrhaedd gan bob bachgen duwiol. Pob mab a merch a anwyd o Dduw, y maent yn gorchfygu y diafol. Buoch mewn brwydrau, ac yr oeddych yn addunedu ymladd nes gorchfygu.

Trwy demtio y mae efe yn ymladd. Dyma lle y mae ei rym—grym celwydd, grym i dwyllo, i hudo. Y mae yn eich temtio chwi. Yn y fan yna y mae y goncwest i'w

chael, trwy fod gair Duw yn aros ynoch chwi. Yr ydych yn ei ddarllen bob Sabbath ; ond a ydyw yn cael aros yno ? O, ieuenctyd ! pa beth sydd yn cael aros yn eich meddyliau a'ch myfyrdodau ?

Ysgrifenais atoch chwi, wyr ieuainc, am eich bod yn gryfion. Yr oedd hyny oddifewn. Y mae yma rhyw gryfder dwyfol yn ngeiriau Duw ; ac ond i chwi fyned i'r frwydr, a gair Duw yn eich meddyliau, chwi orchfygwch yr un drwg. Y mae hyn yn bosibl, neu ni buasai yn y Beibl. Mae yn bosibl i grefyddwyr yn mhob man beri i'r diafol ffoi. Gwrthwynebwch ef yn nerth gwirionedd Duw, fe ffy o hyd. Ond y mae Paul yn myned yn uwch na'r cwbl ddarllenwyd : "Pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist? ai gorthrymder, neu ing? . . . Eithr yn y pethau hyn oll yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr trwy yr hwn a'n carodd ni." Peidiwch a disgwyl dianc rhag profedigaethau ; ond yn y pethau hyn yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr. Yn y gorthrymder yr ydym yn fwy na choncwerwyr. Yn yr ing. Mae ing yn y profiad ; mewn ymdrech galed ar ein calonau, ymdrech â'r chwantau. Mae yn ymdrech ingol weithiau â gelynion. Ond yn yr ing yr ydym ni yn fwy na choncwerwyr. Yn ymlid y nwyd : yn noethion, mewn ynbydrwydd, yr ydym yn fwy na choncwerwyr. Yn ngwyneb mîn y cleddyf yr ydym yn fwy na choncwerwyr.

Wel, dyna ydyw crefydd iawn. Y mae pob gwir Gristion yn orchfygwr yn awr.

*II. Gwobrwyo y Cristion:* "Rhoddaf iddo fwyta o bren y bywyd, yr hwn sydd yn nghanol paradwys Duw." Yn y byd nesaf y cawn berffaith gyflawniad o'r addewid. Ond eto, y mae yn debyg iawn fod y môr yma yn taflu ei freichiau, yn taflu rhyw ffrydiau, i mewn i ynys fach amser. Er mai cul mewn cymhariaeth ydynt, y maent yn debyg

yn eu natur i'r môr yr ochr draw. Ac yr ydwyf yn meddwl fod Iesu Grist yn bwriadu i ni fwynhau rhyw gymaint o gynwys ac ystyr yr addewid yma yn awr. "Rhoddaf iddo fwyta." Ni buasai yn dweyd hyny yn awr, ond ti a'i cei ef mewn amser, pe felly y buasai yn meddwl. Y mae yr addewid yn glir. Y mae yn dweyd hyny er mwyn eich cynal a'ch cysuro. Gorchfygwch chwi y chwantau, cewch fwyta yn y fan o bren y bywyd. Cewch rhywfaint o'r nefoedd i'ch cynal. Y mae pren y bywyd yn estyn ei gangau i'n byd ni. Ond i'r gorchfygwr y mae i'w gael. "Rhoddaf iddo fwyta." Y mae hyn yn rhedeg drwy yr epistolau, ei fod yn bendithio ei bobl, ac yn gwobrwyo eu llafur yma ar y ddaear. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo o'r manna cuddiedig." Nid oes dim llèn yn awr rhyngom a'r sancteiddiolaf. Yn angeu y groes fe rwygwyd y llèn rhwng y ddau fyd. Mae yn un eglwys fawr oddiyma i eithaf nef y nefoedd. Yr oedd y manna yn guddiedig o dan yr Hen Destament. Ond yn awr, y mae rhyddid i chwi fyned i mewn i'r sancteiddiolaf, a bwyta o'r manna cuddiedig. Yr ydym i gyd yn offeiriaid. Y mae rhyddid i fyned i mewn i'r cysegr trwy waed Iesu. "Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Seion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o angylion, i gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd, ac at Dduw, Barnwr pawb, ac at ysprydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd, ac at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn sydd yn dywedyd pethau gwell na'r eiddo Abel." Yr ydym ni yn taflu hyn y tudraw i angau. Na, "Chwi a ddaethoch." Yr ydym wedi dyfod. Yr ydych wedi dyfod atynt pan y daethoch at Iesu, Cyfryngwr y testament newydd. Yr ydych wedi dyfod at ysprydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd. Fe fyddai yn gysur meddwl fod y nefoedd yn

ein hymyl. Y mae rhyddid i chwi fyned i mewn i'r sanct-eiddiolaf bob dydd. Ond i'r gorchfygwr y mae y rhyddid hwn. Gorchfygwch y chwantau: y mae Iesu Grist yn sefyll i estyn i chwi o bren y bywyd. Yn y nefoedd y mae hwn, meddwch. Nage, i gyd. Y mae ernes yr etifeddiaeth yma. Mae yr ernes yr un peth a'r cyfan; nid yr un faint, ond yr un peth. Yr ydych yn disgwyl nefoedd i gyd yr ochr draw; a gawsoch ernes yr ochr yma? Yr ydych yn disgwyl byw; a gawsoch flaenbrawf yn eich enaid yn wobr ar eich taith? Rhoddaf iddo i fwyta. Yn wir, anwyl gyfeillion, byddai yn well i ni beidio meddwl am nefoedd yr ochr draw, os nad ydym yn cael rhyw faint yr ochr yma. Yr wyf yn disgwyl nefoedd y tu draw, medd y dyn. Ond dyma y cwestiwn, A wyddoch chwi am dani yn awr? Rhywfaint? Rhyw gymaint? Peidiwn twyllo ein hunain, gyfeillion. A fyddwch chwi yn cael y nefoedd weithiau yn y dirgel? Rhyw gymaint o gysur y nefoedd ar eich gliniau, neu yn y moddion ambell waith? Byddai yn fendith i ni ameu ein crefydd, os na wyddom am y nefoedd ar ein taith. A fydd y grawnsypiau, weithiau, yn cael eu hestyn?

Ond i'r gorchfygwr y mae hyn. Trwy orchfygu yr enillodd yr Iesu ryddid i fyned at bren y bywyd. Y mae yma gyfeiriad at bren y bywyd yn nechreu Genesis. Ond cysgod oedd hwnw. Yr oedd dau bren yno: pren gwybod-aeth da a drwg, a phren y bywyd. Ac yr oedd un i'w brofi. A thrwy ddal y prawf hwnw yr oeddynt i fwyta o'r llall. Ond fe syrthiodd yr Adda cyntaf. Dyma yr Ail yn yr anialwch, mewn gwendid, wedi dal y prawf, wedi gorch-fygu, ac agor y ffordd i fwyta o bren y bywyd. Ond y mae yn rhaid i ninau orchfygu trwy ddilyn ôl ei draed. Yn ngrym geiriau Duw y gorchfygodd Iesu, ac yn ngrym hwn y gorchfygwn ninau; ac ar y tir hwn y cawn ninau fwyta

o bren y bywyd. A gallai mai dyna ystyr y gair "mwy na choncwerwyr." Yr ydych wedi cael llawer esboniad arno. Cymerwch yr esboniad bach hwn arno eto. Concwerwyr yn y byd yma. Y mae llawer concwerwr wedi bod yma erioed; ond o'r holl orchfygwyr hyn, yr oeddynt yn wanach yn niwedd y frwydr nag yn ei dechreu, fel y dywedodd un ar ol enill brwydr enwog, "Brwydr arall debyg i hon wnel ddiwedd am danaf Yr wyf wedi colli haner y bobl, a buddugoliaeth debyg i hon eto a fuasai yn ddinystr i mi." Pa sut y mae gyda chrefydd? Wel, y mae gorchfygwyr crefydd yn gryfach yn niwedd y frwydr nag yr oeddynt ar ei dechreu, oblegid y mae yr Arglwydd Iesu yn rhoddi iddynt fwyta o bren y bywyd.

Y maent yn gryfach trwy ymladd. Fe dâl i ti ymladd, O Gristion. Y mae y fuddugoliaeth yn sicr i ti. Dal ati hi, pe b'ai y cwbl yn dy erbyn. Dos yn mlaen a'th bwys ar eiriau yr Arglwydd Iesu, ac fe fyddi ar ddiwedd y frwydr yn fwy parod at frwydr arall. Y mae y Cristion yn myned gryfach, gryfach hyd farw. Ac fel hyn y mae yn dyfod felly: y mae yn bwyta ychydig eilwaith ac eilwaith o bren y bywyd, ac wrth wneyd hyny y mae yn myned yn gryfach, nes y daw i fwynhau perffaith fuddugoliaeth ar ei holl elynion mewn gwlad lle nad oes dim ond bywyd o'i mewn.

Mynwch y grefydd hon, anwyl bobl. Y mae y diafol o ddifrif; byddwch chwithau felly. Gwisgwch yr holl arfogaeth. Duw a roddo ei fendith ar hyn. Amen.

## PREGETH XIX.

GALATIAID iii. 20: "A chyfryngwr nid yw i un; ond Duw sydd un."

YMAE yn agos i dri chant o esboniadau ar yr adnod hon, ac ofer fyddai i ni olrhain na sylwi ar y gwahanol esboniadau hyny. Ond ceisiwn edrych beth yw y meddwl mwyaf naturiol sydd i'w gael yn yr adnod. Mae y geiriau ynddynt eu hunain yn bur hawdd eu hesbonio: "A chyfryngwr nid yw i un." Mae hyny yn ddigon hawdd i'w weled. "Ond Duw sydd un." Y mae hyna yn amlwg eto. Ond mewn cael allan berthynas y geiriau y mae yr anhawsder. Perthynas y ddau hyn â'u gilydd, a'u perthynas â'r adnodau blaenorol sydd yn anhawdd. Beth sydd yn ngolwg yr apostol wrth ddweyd hyn? Beth a ddysga y geiriau hyn? Beth a brofir oddiwrth y geiriau hyn?

Y mae yn sylwi yn yr adnodau blaenorol ar addewid Duw i Abraham, ac yn dangos cadernid yr addewid hon, drwy ddweyd nad oes dim a ddygir i mewn ar ol y cyfamod yn newid dim ar y cyfamod. Mae hyny yn wir am amod dyn, pa faint mwy am amod Duw? Felly yr oedd Duw wedi cadarnhau ei addewid i Abraham cyn rhoddi y ddeddf ar Sinai. Fe roddwyd y ddeddf bedwar cant a deg ar hugain o flynyddau wedi y cyfamod, ac am hyny nis gallai ddirymu y cyfamod.

Wel, os nad oedd y ddeddf yn effeithio dim arno, y mae yn naturiol gofyn, Beth ydyw? Beth yw ei hystyr? Paham y rhoddwyd hi o gwbl? Os na roddwyd y ddeddf i newid dim ar yr hen addewid, beth yw hi?

Y mae yr adnod yn ateb y cwestiwn trwy ddweyd fod y ddeddf wedi ei dwyn i mewn, wedi ei rhoddi yn ychwaneg, oherwydd troseddau; er mwyn dangos troseddau, er mwyn argyhoeddi y genedl o'u troseddau, a'u parotoi i dderbyn Iesu Grist yn nghyflawnder yr amser. Neu fel y tybia rhai, a'r rhai mwyaf craff a galluog, fod y geiriau yn cynwys mwy. Fe roddwyd y ddeddf i greu troseddau. Nid i greu pechod, ond i greu troseddau, i weithio y pechod hwnw allan yn y ffordd o drosedd; fel y bydd y meddyg yn rhoddi physigwriaeth i'r claf i weithio y drwg oddimewn allan. Pa fodd bynag, y mae yn myned yn mlaen i sylwi ei bod wedi ei rhoddi trwy angylion yn llaw cyfryngwr. Y mae y cwestiwn yma yn aros eto, Pa un ai dangos y ddeddf yn ddarostyngedig y mae, ai peidio? Ai darostwng ai dyrchafu y ddeddf y mae? Ai dweyd fod y ddeddf yn ogoneddus iawn, wedi ei rhoddi trwy angylion yn llaw cyfryngwr, ai ynte dweyd fod y ddeddf yn îs na'r addewid y mae, gan fod yr addewid wedi ei rhoddi yn ddigyfrwng? Ond fe roddwyd y ddeddf trwy angylion yn llaw cyfryngwr, ac am hyny y mae yn îs. Y golygiad olaf yw y mwyaf cywir, a mwyaf cyson â holl rediad yr ymresymiad.

Yn gyntaf, fe roddwyd y ddeddf nid i ddileu ond i weithio y pechod allan. Yn ail, fe'i rhoddwyd trwy angylion. Ac yn drydydd, yn llaw cyfryngwr. Wrth y cyfryngwr y golygir Moses. Nid ydym i gymeryd y gair cyfryngwr yma o gwbl yn yr un ystyr ag sydd i'r gair mewn adnodau ereill yn y Testament Newydd. Gelwir Iesu Grist yn Gyfryngwr, ac y mae yn un o'r enwau mwyaf goruchel: "Un Duw sydd, ac un Cyfryngwr rhwng Duw a dynion, y dyn Crist Iesu." Nid ydym i gymeryd y gair yn yr un ystyr ag yn y fan yna. Y mae yn amlwg mai yr ystyr yma ydyw is-lywydd, rhyw ddehonglwr, un oedd dros

Dduw yn dehongli y gyfraith i'r Israeliaid ; un nad oedd yn meddu awdurdod ynddo ei hunan, ond fel is-lywydd wedi ei osod gan Dduw. Un felly oedd Moses, ac un felly oedd pen y genedl dan oruchwyliaeth yr Hen Destament : is-lywydd nad oedd i fod yn y swydd byth.

" A chyfryngwr nid yw i un ; ond Duw sydd un." Rhyw ddau olygiad roddir ar y geiriau hyn sydd yn werth i ni sylwi arnynt, ac yn y ddau olygiad yma y cymerwn y geiriau. Y mae yn bosibl fod gwir yn y ddau.

*I. Cyfryngwr nid yw i un blaid : rhaid fod dwy blaid lle y mae cyfryngwr.*

Felly rhaid fod dwy blaid yn ngoruchwyliaeth y ddeddf, yn y cyfamod a wnaeth Duw â'r genedl. Yr oedd yno gyfryngwr, a chyfryngwr nid yw i un. Rhaid fod yno ddwy blaid, a rhaid fod y cyfamod yn ymddibynu ar ddwy blaid ; ac os metha un o'r ddwy blaid, dyna y cyfamod drosodd. Felly yr oedd hi dan y ddeddf. Yr oedd y cyfamod yn dibynu ar ddwy blaid. Ond fe fethodd un o'r ddwy. Wedi iddynt hwy nacau rhoddi ufudd-dod, am hyny y mae y cyfamod wedi darfod. Ond Duw sydd un. Yn yr addewid Duw sydd un, ac am hyny y mae y cwbl yn yr addewid yn ymddibynu ar Dduw. Nid oes dim yn dibynu ar ufudd-dod dyn yn nhrefn gras yn yr addewid i Abraham. Y mae yr un peth a'r cyfamod gras. Y mae yn dibynu yn gwbl, ac yn unig, ar Dduw. Nid yw gwendid dyn yn effeithio dim ar yr addewid. Dyna y gwahaniaeth rhwng y ddau gyfamod. Yr ydych yn gweled i gyd, onid ydych ?

Y cyfamod gweithredoedd a'r cyfamod gras. Yn y cyfamod gweithredoedd, y mae grym y cyfamod yn dibynu ar ddwy blaid ; ond yn y cyfamod gras y mae y cwbl yn dibynu ar Dduw. Ond Duw sydd un. Os dilynwn ef, y

mae yn dangos rhagoroldeb trefn gras, trefn ffydd ; rhagoroldeb yr addewid ar y cyfamod drwy weithredoedd, cyfamod Sinai, neu, ynte, bob ffordd o geisio dyfod i fyny trwy weithredoedd.

Y mae y golygiad yna yn olygiad naturiol iawn, ac yn un llawn o sylwedd. Y mae yn rhoddi ystyr grymus iawn i'r ymadrodd.

*II. Yr ail olygiad. Yn ol yr ail olygiad y mae pwys yr ymresymiad yn hytrach ar y blaid uwchaf.* Yn ol y golygiad cyntaf, yr oedd pwys yr ymresymiad ar y blaid isaf, Cyfryngwr nid yw i un. Wel, y mae y blaid isaf wedi methu ; am hyny y mae y cyfamod wedi ei dori—dyna y golygiad cyntaf.

Yn ol y llall, yr ydym i roddi y pwys yn hytrach ar y blaid arall, y blaid uwchaf, sef Duw. Fel hyn : Cyfryngwr nid yw i un ; lle bynag y mae cyfryngwr y mae dwy blaid. Y mae y ddau yr un fath yn y fan yma. Dyma lle y maent yn gwahaniaethu. Os oedd dwy blaid yn nghyfamod Sinai, y mae yn rhaid nad oedd Moses yn ben llywydd, ond yr oedd rhyw un uwch nag ef. Dyna y casgliad yn ol y golygiad yna.

Yr oedd yr addewid dan un blaid. Yr oedd Moses yn gyfryngwr ; ond os cyfryngwr oedd, yr oedd plaid arall yn uwch na Moses ; ac am hyny yr oedd gan y blaid uwchaf awdurdod i ddileu holl gyfamod Sinai, oblegid nid oedd Moses ddim yn anymddibynol. Yr oedd un uwch nag ef, ac awdurdod ganddo i ddirymu. Ond Duw sydd un ; nid oes neb uwch na Duw, a Duw sydd wedi rhoddi yr addewid ; ac am hyny ni bydd galw yn ol arni byth. Nid oes neb uwch. Yr oedd Moses fel rhyw is-lywydd dan y ddeddf. Y mae yn wir fod Duw yn llefaru drwy Moses ; a phob peth lefarodd drwy Moses, yr oedd mewn grym. Ond eto,

gan mai is-lywydd oedd, nid oedd i fod yn y swydd byth. Yr oedd gan Dduw awdurdod i symud yr holl oruchwyliaeth. Nid oedd Moses, a goruchwyliaeth Moses, ond rhywbeth îs, i fod dros amser. Ond y mae addewid y cyfamod gras wedi dyfod yn uniongyrchol oddiwrth Dduw, ac am hyny nid oes berygl iddo gael ei ddirymu na'i alw yn ol byth.

1af, Cyfryngwr nid yw i un. Yn y cyfamod gweithredoedd y mae dwy blaid, ac y mae gwobr y cyfamod hwnw yn ymddibynu ar ddwy blaid. Ac os metha un blaid dyna y cwbl yn darfod, yn syrthio.

Wel, fy nghyfeillion, nid rhywbeth i blant Israel yn unig ydyw y pwnc sydd yn yr adnod yma. Y mae yma wirionedd mawr i bob oes, yn cyrhaedd atom ni yma yn awr. Nid oes dim ond dwy ffordd wedi bod erioed i ddyn gael heddwch a chymeradwyaeth gyda Duw: un ai drwy y cyfamod gweithredoedd, neu drwy y cyfamod gras. Y mae pawb dan un o'r ddau. Yr ydym ni dan un o'r ddau gyfamod. Yn awr, dyna y mater:

Os ydych dan y cyfamod gweithredoedd, y mae hi yn ymddibynu ar eich ufudd-dod chwi. Yr ydych yn pwyso am eich bywyd ar eich ufudd-dod eich hunan. Dyna gyflwr pob un dan y cyfamod gweithredoedd. Y mae yma ddwy blaid, ac os oes un o'r pleidiau yn dyfod yn fyr o ufudd-dod perffaith, y mae dan felldith cyfamod toredig. A dyma ein cyflwr ni, bod dan felldith cyfamod toredig. Iaith y cyfamod hwn ydyw, "Cynifer ag sydd o weithredoedd y ddeddf, dan felldith y maent." Dyna yw bod dan y cyfamod gweithredoedd—bod dan felldith. "Canys ysgrifenwyd, Melldigedig yw pob un nid yw yn aros yn yr holl bethau a ysgrifenwyd yn llyfr y ddeddf i'w gwneuthur hwynt." Os drwy weithredoedd yr ydych yn meddwl cael

bywyd, y mae yn rhaid i chwi roddi ufudd-dod perffaith. Y mae colli mewn un pwnc yn ein gwneyd yn euog o'r cwbl. Os ydych dan y cyfamod gweithredoedd, y mae yn rhaid i chwi garu Duw â'r holl galon, ac â'r holl enaid, ac â'r holl nerth. Ni all Duw byth faddeu yn nhrefn yr hen gyfamod. Y mae hi yn anmhosibl i Dduw newid ei ddeddf. Yr ydym ninau yn analluog i roddi ufudd-dod iddi, ac am hyny yr ydym dan felldith. Ni ddarfu i ni gadw y ddeddf yna am gymaint ag un awr. Y mae ein meddyliau yn halogedig, a'n pethau goreu yn wrthodedig. Y mae digon o bechodau yn ein gweddïau i'n damnio. Y mae wedi darfod am byth yn llwybr cyfamod Eden, oherwydd y mae yma ddwy blaid. Y mae Duw yn sefyll at y telerau ; ond yr ydym ni wedi methu, wedi myned yn fethdalwyr, wedi myned yn euog.

Ond dyna y drefn arall ar gyfer rhai wedi methu : *Duw sydd un.* Yn y cyfamod gras y mae y cwbl yn dibynu ar Dduw, ac nid ar ddwy blaid, ond ar Dduw ei hunan. Duw ydyw y cwbl yn yr addewid, yn nhrefn maddeu, yn nhrefn gras. Duw sydd un. Mynwch afael mewn trefn i'ch cadw, fy anwyl bobl, ag sydd yn dibynu ar Dduw yn unig, heb ddim o'ch ufudd-dod chwi. Duw yn unig sydd o dan drefn gras. Duw oll yn oll. Duw a'i arfaethau yn nhragywyddoldeb ; Duw y Tad, yr hwn a etholodd cyn bod y byd ; Duw y Mab gymerodd ein natur ni, ac a dalodd yr Iawn yn ein lle ; a Duw yr Yspryd Glân yn ei chymhwyso. Nid dwy blaid. Un Duw. Trindod mewn undod wedi ymrwymo i gadw pechadur. Y cwbl yn dibynu ar Dduw. Beth ddaw o'n hufudd-dod ni? Peidiwn son am dano. Nid oes dim yn dibynu arnoch chwi. "Y mae efe yn Gyfryngwr cyfamod gwell, wedi ei osod ar addewidion gwell. . . . Nid fel y cyfamod a wnaethum â'u tadau hwynt yn y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt i'w dwyn

hwy o dir yr Aipht; oblegid ni thrigasant hwy yn fy nghyfamod i, minau a'u hesgeulusais hwy, medd yr Arglwydd. Oblegid hwn yw y cyfamod a amodaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, Mi a ddodaf fy nghyfreithiau yn eu meddwl, ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt." Yn ol y cyfamod gweithredoedd, rhaid i ti ofalu am gadw y gyfraith. Ond yn y cyfamod gras, dyma Dduw yn addaw rhoddi y gyfraith yn dy feddwl. "Ac yn eu calonau yr ysgrifenaf hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant i minau yn bobl."

Diolch am drefn heb ddim yn ymddibynu arnom ni. Nid yw yn dibynu ar ein cariad, na'n parhad, na'n profiad, na'n gweithredoedd ni. Ond Duw sydd un. Efe yw y cwbl o'r dechreu i'r diwedd yn nhrefn achub. Dywedaf ef eto, Mynwch afael mewn trefn yn dibynu yn unig ar Dduw. Peidiwch rhoddi pwys ar neb arall. Duw yn unig, Duw sydd un. Dyna ddywedwn ar y golygiad cyntaf.

2il, Cyfryngwr nid yw i un. Yr oedd rhyw un uwch na Moses, rhyw un ac awdurdod i ddileu cyfraith Moses. Nid yr Iuddewon yn unig, a Moses yn rhoddi cyfraith iddynt, oedd yno. Yr oedd un arall anfeidrol uwch yno, a hawdd ganddo i ddyfod a symud yr holl drefn, i symud yr hen sefydliad, pan yr oedd ei amser ar ben. Ond yn y cyfamod gras, Duw sydd un. Nid oes neb uwch na hwn. Nid oes gan neb hawl i ddyfod a dileu yr hyn y mae Duw wedi ei wneyd. Duw sydd un.

Dyma yr addysg: Mynwch grefydd rhyngoch chwi a Duw. Nid oes gan neb hawl i setlo eich mater ond Duw. Y mae genym fater na fedr Moses mo'i setlo, nac un gyfraith, nac un trefniad cyfreithiol, nac un sefydliad daearol byth ei wneyd yn dda. Y mae yn cyrhaedd heibio

i ddynion at orsedd Duw. Dyna ydyw pwnc bywyd. Dyna ydyw pechod. Ac oddiyna y rhaid i ni gael maddeuant, a thrugaredd; oddiwrth y Duw y pechasom yn ei erbyn.

Y mae yn bosibl ein bod ninau yn ymddibynu ar ffurfiau fel plant Israel. Yr oedd plant Israel yn dibynu ar ddeddf Moses, ac yn meddwl cael bywyd yn y ffordd hono; a'r mater mawr uwchlaw hyny, rhynddynt a Duw. Yr oeddynt yn meddwl, ond myned trwy y ffurfiau, y byddent yn cael symud yr euogrwydd. Yr oedd yno aberthau; ond yr oedd hanfod pechod yn aros wedi'r cwbl.

Y mae felly eto. Y mae dynion yn meddwl myned i'r nefoedd drwy sefydliadau a ffurfiau. Y maent yn disgwyl, os byddant yn gyflawn a difwlch yn y pethau seremoniol yma, y byddant yn iawn. Ond, fy nghyfeillion, pethau dros amser yw y rhai yna. Fe symudir ein ffurfiau ni fel y symudwyd deddf Moses. Pan y symudir yr holl ffurfiau, y *fabric* crefyddol yma, bydd yr enaid yn noeth o flaen Duw, os na chei rywbeth heblaw ffurfiau. Paid a gorphwys mewn ffurfiau, mewn mater rhyngom a'r Duw mawr. Pwyswn ar addewid Duw. Peidiwch adeiladu ar ddim llai. Ewch heibio i bawb at Dduw; ac yna, os cei faddeuant o'r orsedd, fe ddeil hyny. Os bydd yn dda rhyngoch chwi a Duw, ni bydd dim difodi ar hyny. Pwyswch ar addewid Duw, ar drefn Duw. Duw sydd un. Os dywed Efe ei fod yn maddeu dy bechodau, ni ddileir byth mo hyny. Bydd mewn grym i dragwyddoldeb. Gwnewch eich crefydd yn fater cydwybod rhyngoch a'r Arglwydd. Amen.

## PREGETH XX.*

1 TIM. iv. 8: "Canys i ychydig y mae ymarfer corphorol yn fuddiol: eithr duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd y sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd."

YR wyf am alw eich sylw at fywyd a marwolaeth y chwaer hon, i ddangos gwerth duwioldeb. Dyma esiampl a phrawf fyw o hyn yma. Beth bynag oedd hi o ran doniau naturiol, eto, ni buasai o fawr werth, oni fuasai fod ei duwioldeb wedi ei dyrchafu hi.

Ni a gymerwn yr achlysur hwn i ddangos fel y mae duwioldeb yn fuddiol yn y byd sydd yr awrhon, ac hefyd yn fuddiol ar gyfer yr hwn a fydd.

Duwioldeb sydd yn fuddiol, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon. Y mae hanes y chwaer hon yn dangos ei bod wedi gweled gwerth mewn duwioldeb i fyw y bywyd hwn, pe na b'ai yr un bywyd ar ei ol. Nid oes dim tebyg i dduwioldeb.

Dyna un peth,—sydd yn dangos gwerth duwioldeb,—yn ein chwaer—*Y mae yn dangos fod duwioldeb yn fuddiol i brydferthu y cymeriad i gyd, ac i roddi agwedd uchel arno.* Y mae yn gwisgo y neb a'i medd â phrydferthwch. Peth gwerthfawr iawn yw prydferthwch; un o'r pethau gwerthfawrocaf yn y byd yma, pe baem ni yn meddu llygaid i'w weled. Y mae Duw wedi gwneyd y byd yma yn brydferth. Diameu ei fod yn bwriadu i ddynion gael cysur a mwynhad trwy edrych ar ei brydferthwch. Ac ni amheuwn i ddim nad yw y Duw mawr ei hunan yn cael mwynhad

* Pregeth a draddodwyd gan Dr. Edwards yn y Bala, nos Sabboth, Ion. 26, 1868, er coffadwriaeth am Mrs. Turnbull, Plas-yr-acrau.

yn mhrydferthwch yr hyn a wnaeth. Fe edrychodd ar bob peth yn niwedd y chwe' diwrnod, ac wele da iawn ydoedd. Yr oedd yn cael rhyw foddlonrwydd i'w feddwl anfeidrol wrth weled y cwbl. Pan aeth i wneyd lle i ddyn hefyd, gwnaeth ef yn brydferth iawn. Gwnaeth i bob pren dymunol i'r golwg i dyfu yn yr ardd: nid prenau da, ond prenau heirdd. Gofalodd am roddi dyn yn nghanol prydferthwch. Ac er fod pechod wedi gwneyd dinystr mawr yn y byd yma, y mae yma lawer o brydferthwch hyd yn nod yn y byd difywyd yma, yn y creigiau a'r mynyddoedd. Y mae llawer iawn o brydferthwch mewn dynion, hyd yn nod mewn dynion diras. Y mae prydferthwch yn y plentyn bach. Cyn belled ag y mae llaw Duw i'w gweled y mae yna brydferthwch. Nid oes dim anhegwch ond y mae pechod wedi ei ddwyn i mewn.

Ond o bob peth prydferth a welodd ein byd ni, cymeriad duwiol ydyw y mwyaf prydferth. Dyma beth hardd! harddwch sancteiddrwydd! Pe b'ai ryw amheuaeth am hyn, fod Duw yn cael pleser yn y prydferth naturiol, nid oes dim dadl am hyn: y mae y Duw mawr yn ymhyfrydu yn mhrydferthwch sancteiddrwydd. Y mae y Beibl yn cysylltu y geiriau "prydferthwch" a "harddwch" amryw weithiau â sancteiddrwydd: "Mewn harddwch sancteiddrwydd o groth y wawr y mae gwlith dy enedigaeth i ti." "Addolwch ef mewn prydferthwch sancteiddrwydd." "Yn mhrydferthwch ei sancteiddrwydd." Yn wir, y mae yn dda iawn fod Duw mor dda a rhoddi rhyw esiampl o hyn i'w ddangos tua'r Bala. O, y mae yn brydferth! Y mae dynion duwiol yn brydferth bob amser. Y mae yma ryw brydferthwch nas gallwn ei ddesgrifio yn eu bywyd. Y mae eu gras yn addurn iddynt. Y mae yn brydferth! "Gemwaith aur yw eu gwisg hwynt." Y mae yn gwisgo gemwaith aur. Y mae grasau fel gemau yn addurno pob dyn duwiol.

"Mewn gwaith edau a nodwydd y dygir hi at y brenhin." Fe ddaw diwrnod pan y bydd eglwys Dduw mor brydferth nad oedd un ffordd gymwys i ddesgrifio ei phrydferthwch ond trwy ddweyd ei bod wedi ei gwisgo âg aur. "Ac ar ei phen ddeuddeg seren."

Dyna ydyw sancteiddrwydd. Wel, y mae rhyw faint o'r prydferthwch i'w weled yma. Ac nid wyf yn sicr,—ond y mae rhai esbonwyr yn dweyd mai am yr eglwys yr ochr yma y dywedir, ei bod yn nef y nefoedd, yr eglwys ar y ddaear. Yr angylion yn Ioan, eglwys Iesu Grist wedi ei gwisgo âg aur ydynt. Ond pa fodd bynag, y mae sancteiddrwydd yn brydferth i'r graddau y mae. O, na allem eich darbwyllo i barchu y prydferth! Gobeithio nad aiff y wers ddim heibio heb ei dysgu! Ceisiwch weled hyny yn y chwaer yma. O, yr oedd yn hardd! Yr oedd yn ateb i eiriau yr apostol. Y mae yn rhywle yn cynghori fod i'r gwragedd eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus. Addurno eu hunain ydyw y meddwl, gyda gwylder a sobrwydd; nid âg aur neu emau, ond yr hyn sydd yn gweddu i wragedd yn proffesu duwioldeb, â gweithredoedd da. Yr wyf yn teimlo yn bur gadarn, yn sicr, nad oes neb a'i hadnabyddai yn ameu nad oedd Mrs. Turnbull wedi ei haddurno â gweithredoedd da. Yr oedd wedi ymdrwsio, fel y dywed Pedr, â gostyngeiddrwydd. "Trwsiad y rhai bydded nid yr un oddiallan, o blethiad gwallt, ac amgylchosodiad aur, neu wisgiad dillad; eithr bydded cuddiedig ddyn y galon, mewn anllygredigaeth ysbryd addfwyn a llonydd, yr hwn sydd gerbron Duw yn werthfawr." Dyma y trwsiad. A ydych yn ei weled yn hardd, ac a ydych yn ei edmygu? Ysbryd addfwyn, a oes awydd ynoch am hwn? Ysbryd addfwyn a llonydd, yr hwn sydd gerbron Duw. Y mae yn werthfawr gerbron Duw. Y prawf a gawsom o werth duwioldeb yn hanes ein chwaer yw hyn—

yr oedd wedi ei phrydferthu; yr oedd wedi ei gwisgo â gemau; yr oedd grasau yn disgleirio fel gemau o'i hamgylch.

Enwaf ychydig esiamplau o'r gemau yma. Ffrwyth yr Ysbryd fydd cariad. Os ydych am emau, dyma nhw! Cariad, llawenydd, tangnefedd, hirymaros, cymwynasgarwch, daioni, ffydd, addfwynder, dirwest. Dyma emau duwioldeb sydd yn prydferthu pawb o'r saint. Y mae duwioldeb yn prydferthu dynion.

*Y mae duwioldeb yn fuddiol i ddedwyddoli y meddwl.* Nis gwn pa fodd i ddweyd hyn. Nid wyf yn hoff o eiriau newydd. Y mae yn fuddiol yn y bywyd hwn er mwyn dedwyddwch. Nid oes dim yn debyg at ein gwneyd yn ddedwydd yn y bywyd hwn. Yr oedd ein chwaer felly. Ni welsoch neb erioed a dreuliodd ei thymor mor hapus. Yr oedd mewn afiechyd, ond O, mor ddedwydd! Yr oedd mor ddedwydd nes yr oedd yn gwneyd pawb yn ddedwydd ddeuai yn agos ati hi. Rhaid fod rhywbeth yn y Beibl yma i roddi cysur fel yna, sydd yn dal mewn afiechyd! Cysur cryf! Yr oedd yn ddedwydd ei meddwl. Duwioldeb, dyna y *secret.* "Diodi hwynt âg afon dy hyfrydwch." Yr oedd yn yfed o afon cysur dwyfol. Yr oedd yn ddedwydd yr ochr yma—beth erbyn heddyw! Y mae wedi myned i mewn i lawenydd ei Harglwydd. A fedrwch chwi fod yn ddedwydd, bobl, pe b'ai cysuron y byd yma yn myned ymaith; a phe baech yn methu myned o'r ystafell, a allech fod yn hapus? Yn ngeiriau yr Arglwydd y mae dedwyddwch na ddihysbyddir mohono byth. Yr oedd yn felusach na'r mêl i'r Salmydd. Ac y mae yn meddu yr un gallu i'n cysuro ninau—y Beibl, a llyfrau tebyg iddo. Y Beibl, a'r llyfrau tebycaf iddo, oedd llyfrau y chwaer hon, megis Dr. Owen a Dr. Goodwin. Y mae rhyw gysur a rhyw bleser i'w gael yn mhethau y ddaear yma; ond pleser

a ä heibio ydyw. Ond yr oedd hi yn ddedwydd wrth edrych yn ol, ac wrth edrych yn mlaen. A dyna ydyw dedwyddwch. Dyna sydd yn gwneyd dyn yn ddedwydd yn fwy na'r anifail. Y mae hwn yn cael pleser yn y mynud presenol; ond y mae genyt ti allu i edrych yn ol ac yn mlaen i'r dyfodol. A fedrwch edrych yn ol gyda chysur ar y bywyd a dreuliasoch? A gair felly oedd yn rhoddi cysur iddi, "Cymer gysur, maddeuwyd ei haml bechodau hi." Yr oedd ganddi hithau bechodau, ond yr oedd yn gwybod eu bod wedi eu maddeu. Yr oedd digon yn y gwaed i'w golchi; a digon yn ngras maddeuol Duw i glirio y beiau i gyd; ac yr oedd hi yn hapus yn medru edrych yn ol ar ei hoes heb ofni cael ei heuog-farnu.

Ond yr oedd yn ddedwydd eto wrth edrych yn mlaen. Pa sut y mae gyda ni, gyfeillion? A fyddwch yn edrych yn mlaen i'r dyfodol? Oni fyddwch yn dychryn wrth feddwl am hyn? Fe ddaw, fe ddaw! Ond y mae crefydd y Beibl yn rhoddi cymhorth i edrych yn mlaen heb ofni niwed. Yr oedd hi yn gallu edrych i wyneb angeu heb ofni niwed. "Ië, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu, nid ofnaf niwed." A duwioldeb oedd yn ei chynal, ac yn rhoddi cysur iddi yn y byd sydd yr awrhon.

*Y mae duwioldeb yn fuddiol fel y mae yn gwneyd dyn yn fuddiol i eraill.* Ni raid i mi ddweyd am dani hi, fod hyn yn enwog yn ei hanes. Nid yn unig yr oedd yn cael pleser ei hunan, ond ei phleser oedd bod yn lles i ereill. Nid oes fawr o ddedwyddwch i'w gael os bydd dyn yn byw iddo ei hunan. Os na wyddoch beth yw byw i'ch cyd-ddynion yn y byd yma, yr ydych heb wybod beth yw gwir bleser. Dyna yw dedwyddwch. Y mae Duw yn ddedwydd: y mae yn ymlawenychu, ac y mae ei blant yn debyg iddo. Yr oedd hi yn dychymygu daioni, ac ar ddaioni y safai hi. Fel hyn yr oedd hi yn trysori iddi ei hun sail dda erbyn

yr amser sydd ar ddyfod. Trwy gyfranu yr oedd hi yn trysori ar gyfer yr amser sydd ar ddyfod. Pe baech yn trysori yn y banc cryfaf ar y ddaear yma, ni byddai genych ddim ar gyfer byd arall wedi hyny; ond gwnewch gyfeillion o'r mammon anghyfiawn, ac fe fydd genych drysor yn y nef. Y mae cyfoethogion yn y byd, ond ar y ddaear y maent yn trysori. Ond y mae plant Duw yn trysori yn y nef; ac fel hyn y mae gwneyd hyny, trwy roddi i'n cyd-ddynion o'r hyn a roddodd Duw i ni. Y mae buddioldeb mewn duwioldeb yn y bywyd sydd yr awrhon.

"A'r hwn a fydd." Nis gallwn ni ond myned at làn y mater yma. Y mae y can' cymaint yn y byd hwn; ond y mae rhyw derfyn. Y mae cant yn llawer; ond y mae rhyw derfyn. Ond yn y byd a ddaw nid oes terfyn—bywyd tragwyddol. Rhaid bod byd a ddaw: "Yr hwn a fydd." Y mae yr hyn yw Duw yn dangos ei fod. Ni buasai Duw ddim yn gwneyd un debyg i'n chwaer, ac wedi hyny yn ei thaflu o'i law, a'r cwbl yn darfod yn y fan yna. Na; ni buasai Duw yn ei addurno yn ofer. Na; y mae wedi myned i fyd gwell, ac y mae yn nghadw mewn prydferthwch, ac fe fydd yn myned yn fwy prydferth a dedwydd i dragwyddoldeb. "Yr hwn a fydd." Nid oes neb all weled terfyn i waith Duw yn y byd yma. Y maent yn dyfeisio offerynau newyddion; ond yn lle dangos y terfyn i waith Duw, nid ydynt ond dangos fod bydoedd diderfyn, heb derfyn yn dyfod i'r golwg. Ond ni fedr neb â'i ddoethineb wneyd yspienddrych i edrych i'r dyfodol. Y maent yn gweled miloedd o filoedd o filltiroedd yn bresenol. Ond nis gallant weled dim i'r dyfodol. Na allant byth. Beth a fydd? Fe ddywed yr astronomer beth fydd yn Jupiter, Neptune, a'r haul, ac yn mhell iawn; ond nis gall neb ddweyd beth a fydd yn y dyfodol. Ond y mae genym ni ein *telescope* yn y Beibl, yn edrych i'r dyfodol.

heibio i angeu, yn dangos byd tudraw i hwn, "yr hwn a fydd." Yno y daw pob peth i'w le. Yno y mae agoriad i ddatgloi anhawsderau y byd yma. Buasai y byd hwn yn anesboniadwy oni b'ai ein bod yn credu mewn byd arall. Ond y mae genym hanes Iesu Grist; un wedi dyfod oddiyno, ac wedi byw a marw yma, a myned yno yn ei ol, a dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleui. Ac y mae wedi rhoddi ei addewid i'w bobl am y byd hwnw. Y mae wedi addaw bywyd tragwyddol; os gadawa neb dad neu fam er ei fwyn Ef, fe gaiff y can' cymaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragwyddol. Y mae wedi dweyd, "Yr hwn sydd yn gorchfygu a gaiff eistedd gyda mi ar fy ngorseddfainc, megis y gorchfygais inau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainc ef." Y mae hyny yn ffaith, nid rheswm. Ffeithiau sydd genym: fe fu Mab Duw yn y byd yma. Fe fu yma! Fe'i gwelwyd Ef yma. Y mae rhai wedi ei deimlo â'u dwylaw. Fe'i gwelwyd Ef yn marw; ac fe'i gwelwyd Ef yn fyw ar ol marw; ac fe'i gwelwyd Ef yn esgyn i ogoniant. Ac mor sicr a hyny fe'i gwelwn Ef yn dyfod ar gymylau y nef. Ac y mae wedi rhoddi sicrwydd am dano. O!'r byd hwnw! O! fe fuasai yn dywyll arnom ni oni buasai Iesu mawr. Y mae wedi rhoddi sicrwydd i ni am dano. Credu ynddo, a dyna yr addewid i ni. Yr oedd ein chwaer wedi credu ynddo er's blynyddoedd. Yr oedd wedi rhoddi ei henaid i'w gadw i Greawdwr ffyddlawn, gan wneuthur yn dda. Nid oedd ganddi bryder i ymadael â'r cwbl a welir. Myned adref yr oedd hi. Yr oedd ei chartref a'i ffryndiau goreu draw. Y mae wedi myned atynt; ac y mae gydag Iesu Grist yn awr. Y mae Iesu yn bod y mynud yma, yn y wlad o fil miloedd, a myrdd myrddiynau o ganlynwyr; ac y mae hithau yn ei weled megis ag y mae. O, beth yw hyny! Wedi myned o'i phoenau a'i gofidiau, a chyda'r Iesu! O,

am grefydd—crefydd erbyn y byd arall! Beth sydd genych, bobl anwyl, ar gyfer yr hwn a fydd? A ydych yn ceisio bod yn hapus â phleserau gwael y byd yma? Pa sut y trydd hi yn yr hwn a fydd? Dyma yr addewid a addawodd Efe i ni, sef bywyd tragwyddol. A ydyw yn eich gafael? A oes genych addewid at dragwyddoldeb, a sicrwydd y bydd yn dda arnoch y pryd hwnw? Mynwch grefydd iawn. Y mae yn fuddiol i fyw a marw, ac i fyned i'r byd tragwyddol; ac ni welwch ei gwerth nes y byddwch wedi myned yno. Amen.

## PREGETH XXI.

IOAN i. 41: "Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon, ac a ddywedodd wrtho, Ni a gawsom y Messïas; yr hyn o'i ddehongl yw, Y Crist."

Y MAE yma ddau osodiad: fod y Gair yn bod yn dragwyddol; ac mai Iesu oedd y Gair. Y mae yn ddiameu fod rhyw wir amcan yn cysylltu y ddau osodiad â'u gilydd. Y mae yn ymddangos mai yr amcan hwnw ydyw profi mai yr un yw y Gair oedd gyda Duw er tragwyddoldeb a'r Iesu hwn welwyd yn Nazareth, yn rhodio oddiamgylch, ac o'r diwedd yn marw ar y groes yn Jerusalem. Nid llawer o wrthwynebiad fuasai gan yr Iuddewon i un o'r ddau osodiad ar wahan. Yr oedd rhyw dyb yn y genedl fod y Gair yn bod yn ddiddechreu. Ond yr oedd y dyb hon yn anmherffaith a thywyll iawn. Gan hyny y mae Ioan yn egluro hyn trwy daflu goleu ar y mater yma, trwy ddweyd pa fath un oedd y Gair. Ac o'r ochr arall, ni buasai neb yn gwadu nad oedd Iesu wedi ei fagu yn Nazareth, a marw yn Jerusalem. Yr oedd hyny yn amlwg i bawb. Ond dyna lle yr oedd yr anhawsder mawr, uno y ddau beth â'u gilydd, a dangos mai y Gair oedd yr Iesu, ac mai yr Iesu ydyw y Gair. Wrth edrych, yr wyf yn meddwl y cewch mai at yr amcan yna y mae yr Efengylwr sanctaidd yn cyfeirio ei holl ymdrech yn y benod hon.

Ac y mae yn profi hyn trwy ddau beth: yn gyntaf, trwy dystiolaeth; ac yn ail, trwy brofiad. Yn gyntaf, trwy apelio at dystiolaeth, ac yn ail at brofiad. Y mae yn gosod y

ddau ben yna i lawr, yn bur fyr i ddechreu, y naill ar ol y llall. "Ioan a dystiolaethodd am dano ef." Nid oedd neb yn fwy parchus nag Ioan. Nid oedd un dystiolaeth ag y buasai pawb yn plygu iddi yn gynt. Wel, dyma dystiolaeth Ioan: "Hwn yw efe am yr hwn y dywedais i, Ar fy ol i y mae gwr yn dyfod, yr hwn a aeth o'm blaen i; canys yr oedd efe o'm blaen i." Mae yn debyg mai mewn amser y meddylir yn y ddau le. Y mae yn dyfod ar fy ol i mewn amser; ond fe aeth o'm blaen i mewn amser. Yr oedd Efe yn arfer dyfod i'r deml dan yr hen oruchwyliaeth. Yr oedd yno fel angel ei gynddrychioldeb ef gyda'r eglwys drwy yr oesoedd. Yr oedd yma o'm blaen i. Pa fodd y gallasai fod felly, ac yntau wedi ei eni ar ei ol? "Canys yr oedd efe o'm blaen i." Dyna dystiolaeth Ioan. Ac wrth ddwyn y dystiolaeth yr oedd yn cyfeirio yn neillduol ato, Hwn, Hwn!

Ond y mae genym dystiolaeth arall eto. Y mae genym reswm cryfach eto, prawf cryfach eto, hyny ydyw, ein profiad ni ein hunain: "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras." Dyna beth cryfach na thystiolaeth Ioan, ac na thystiolaeth yr holl saint am dano—ein profiad ni ein hunain. "Ac o'i gyflawnder ef y derbyniasom ni oll, a gras am ras."

Yna, ar ol gosod y ddau ben, y mae yn helaethu ar bob un. Y mae yn rhoddi y manylion yn nghylch tystiolaeth Ioan. Y mae yn dweyd pa bryd, yn mha le, ar ba achlysur, ac wrth bwy, yn y modd mwyaf eglur; ac yn dangos ei fod wedi dwyn y dystiolaeth fwy nag unwaith, fel y mae y gair "drachefn" yn dangos. Ac ar ol rhoddi tystiolaeth Ioan yn fanwl fel yna, y mae yn dyfod at brofiad y rhai oedd yn arfer dyfod at yr Iesu. Effaith ei gymdeithas. Yr oedd cyffyrddiad âg Iesu Grist yn cynyrchu rhyw effeithiau ar bawb a fyddai yn ymgydnabyddu âg ef. Rhyw ddiwrnod

yr oedd dau o ddysgyblion Ioan yn dilyn Iesu Grist, o gywreinrwydd, feallai, i ddechreu. Da iawn gweled dynion yn dyfod at yr Iesu a'i waith, pe b'ai dim ond cywreinrwydd, dim ond chwilfrydedd ynddynt i gael gweled a gwybod beth sydd i'w weled. Y mae hyny yn llawer gwell na chlywed gan ereill. Y mae y ddau yma yn dilyn yr Arglwydd Iesu, ac yntau yn gofyn yn naturiol iawn, Beth yr ydych yn ei geisio? Ac y maent hwythau yn penderfynu cael ei weled yn ei gartref, a chael cyfeillach âg Ef ar wahan, heb neb ond Ef a hwythau. "Athraw, pa le yr wyt ti yn trigo? Hwy a ddaethant ac a welsant y lle yr oedd Efe yn trigo ynddo, ac a arhosasant gydag Ef y diwrnod hwnw." Yr oeddynt yn methu ymadael; nid oeddynt yn blino yno trwy y dydd. "Ac a arhosasant gydag ef y diwrnod hwnw." A'r effaith a gafodd hyn arnynt oedd, eu cynhyrfu i ddweyd wrth ereill am dano.

Andreas, brawd Simon Pedr, oedd un o'r ddau: mae yn hawdd gweled pwy oedd y llall. Y mae y dystawrwydd yn dweyd pwy oedd. Ioan yr Efengylwr oedd efe. Nid yw yn arfer enwi ei hunan. Y mae yn cadw ei hunan o'r golwg; ond y mae yn gofalu am roddi ei enw i'r llall: "Andreas, brawd Simon Pedr, oedd un o'r ddau a glywsent hyny gan Ioan, ac a'i dilynasant ef. Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon," &c. Y mae rhyw feddwl i'r gair hwn: "Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon." Mae yn debyg mai yr ystyr ydyw i'r ddau fyned i chwilio, Andreas un ffordd a Ioan y ffordd arall. Yr oedd gan Ioan ei frawd hefyd; ac yr oedd awydd ar ei galon i ddweyd wrth ei frawd, er mwyn cael hwnw at yr Iesu. Felly yr effeithiai arnoch chwithau; pe gwelech ychydig o ogoniant Iesu Grist, chwi fyddech am gael eich brodyr, a'ch perthynasau, a'ch teulu ato. Y teulu yn gyntaf, ac eraill wedi hyny. Byddech am gael pawb ato.

Nid oes fawr o werth mewn crefydd dyn os bydd yn fawr ei swn gyda phobl ddieithr ac yn ddifater am ei berthynasau. Ond y mae y rhai hyn yn gofalu am eu brodyr, " Hwn yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon." Y mae Ioan yn gofalu rhoddi y clod i eraill yn y fan hyn. Andreas yn gyntaf a gafodd ei frawd ei hun, Simon, " ac a ddywedodd wrtho, Nyni a gawsom y Messias." Ni a'i cawsom. Yr ydych yn gweled fod y rhai hyn wedi eu parotoi i ddyfod at yr Iesu. Y mae llawer yn meddwl nad oes dim dyfod at grefydd ond heb barotoad. Ond y mae y Beibl yn dweyd fel arall. Nid oedd Paul mor anfoesol ag y mae llawer yn tybied. Ond pa fodd bynag am hyny, y mae hanes y mwyafrif o apostolion yr Arglwydd Iesu yn dangos eu bod wedi bod dan ddysgyblaeth, a'u bod wedi dysgu llawer am dano, a'u bod wedi cael eu harwain, a'u parotoi, a'u gwneyd yn bobl barod. Yr oedd y rhai hyn dan ddysgyblaeth Ioan Fedyddiwr, ac yn disgwyl y Messiah. Ac o'r diwedd dyma fe wedi dyfod. A dyma Andreas yn dweyd o'r diwedd, " Nyni a gawsom y Messias, yr hyn o'i ddeongli yw, Y Crist." A gallem ni ddweyd yn yr iaith Gymraeg, Yr Eneiniog, Y Messiah, Y Crist ; y Messiah yn iaith yr Hen Destament, y Crist yn iaith y Testament Newydd ; hyny ydyw, yn ein hiaith ni, yr Eneiniog, Eneiniog yr Arglwydd.

At yr enw yma y caf eich galw am ychydig, yr enw swyddol yma ar Waredwr pechaduriaid. Dyma ydyw yr enw, enw swyddol yr Arglwydd Iesu ; nid rhyw enw personol, ond enw swyddol. A rhwng y ddau enw, dyma y Person a'r swyddau, Iesu Grist. Iesu, dyna y Person, Jehovah, y Gwaredwr, Crist, dyna fe mewn swydd, wedi ei eneinio i fod yn Waredwr.

Yr ydym wedi bod lawer gwaith yn trin am ei Berson Ef ; gallai y byddai yn well i ni fyned yn mlaen at y

swyddau, i aros, a sylwi tipyn ar gynwys, a meddwl, ac ystyr swyddau y Cyfryngwr mawr.

Rhaid i ni ddyfod at y Person ; ac nid oes iachawdwriaeth heb adnabod y Person ; ac ni buasai gwerth yn y swyddau, oni b'ai mawredd y Person. Ond ni ddeuwch at y Person ond trwy y swyddau. Y mae ffydd yn dyfod at Berson Mab Duw. Y mae cymaint peth mewn crefydd ag uno pechadur â Pherson yr Arglwydd Iesu ; ond y mae ei Berson yn anweledig. Pa sut y mae i ni ddyfod ato? Trwy y swyddau yma. Y mae yn rhaid i chwi ymaflyd yn y swyddau, a chredu yn y swyddau ; a thrwy y swyddau y deuwn ni at y Person.

Pe bawn yn gofyn i chwi, Pa sawl swydd sydd yn perthyn iddo? yr wyf yn gwybod yr atebwch mai tair, Prophwyd, Offeiriad, a Brenin. Y mae holl swyddau y Beibl yn y tair. Nis gallwch feddwl am swydd, yn naturiol nac yn ysbrydol, nad ydyw i mewn yn un o'r tair yna. Y mae yma swyddau eraill, rhyw fân swyddau ; ond y maent oll yn y tair yma, ac y mae y tair yma yn ateb i dair cynheddf lywodraethol dyn. Rhyw dair felly sydd : Yn 1af, y deall ; yn 2il, y gydwybod ; ac yn 3ydd, yr ewyllys. Wel, y mae Iesu Grist yn Brophwyd i'r deall, y mae yn Offeiriad i'r gydwybod, ac y mae yn Frenin i ddarostwng yr ewyllys. Y mae Efe yn bob peth ag sydd yn angen ar bechadur, ac y mae wedi ei eneinio i'r swydd.

Yr ydych yn darllen yn y Beibl am Elias y prophwyd yn eneinio Eliseus i fod yn brophwyd ar ei ol ef. Yr oedd yn rhaid eneinio yr archoffeiriad, ac y mae y brenin yn cael ei alw mewn modd neillduol yn eneiniog yr Arglwydd. Wel, dyma un wedi ei eneinio yn Grist. Beth yw hynyna? Yr enw yna sydd mor gyffredin, beth yw? Beth sydd i ni feddwl wrth ei alw yn Iesu Grist? Y mae wedi ei eneinio

i fod yn Brophwyd. Y mae wedi ei eneinio i fod yn Offeiriad. Y mae wedi ei eneinio i fod yn Frenin.

Ni a gymerwn y tair swydd yn eu hundeb â'u gilydd. Byddai yn ormod gwaith traethu ar bob un ar wahan. Ni a ddanghoswn yr undeb rhyngddynt â'u gilydd. Am ei fod yn Brophwyd y mae yn Offeiriad, ac am ei fod yn Offeiriad y mae yn Frenin. Y mae ei waith fel Prophwyd yn arwain i'w waith fel Offeiriad; ac y mae ei waith fel Offeiriad yn arwain i'w waith fel Brenin. Y mae felly o'n hochr ninau. Y mae gwir adnabod Iesu Grist fel Prophwyd yn arwain dyn i gredu ynddo fel Offeiriad. Y mae credu ynddo fel Offeiriad yn ein harwain i roddi ufudd-dod iddo fel ein Brenin.

Nid oes rhanu i fod arno. Ac yn y fan yna y mae gwreiddyn y camsyniadau i gyd, sef ceisio ei ranu. Buont yn ceisio ei ranu yn ei Berson; yr amcan yn awr yw ei ranu yn ei swyddau, a'u dadgysylltu. Y mae pawb yn addef ei fod yn Brophwyd; hyd yn nod anffyddwyr yn gorfod addef ei fod yn Brophwyd. Y mae wedi dyfod yma yn Ddysgawdwr heb ei fath. Y maent i gyd yn dyfod i'r fan yma. Y mae wedi rhoddi gwersi da naturiol; y mae yn well nag un philosopher fu yn y byd erioed; a phroffesant roddi gwarogaeth iddo fel un felly. Y maent yn hoffi dwyn o wersi yr Arglwydd Iesu. Ond ni fynant glywed son am dano fel Offeiriad. Y maent yn gwadu yr Iawn, yn gwrthod Crist yn ei aberth. Yn y fan yna y mae y camsyniad. A thrwy eu bod yn ei wrthod fel Offeiriad, nid ydynt yn plygu iddo fel Brenin.

Nid wyf yn tybied fod yma neb yn anffyddwyr proffesedig; ond feallai fod y galon ddrwg anghrediniaeth yn nes atoch nag yr ydych yn meddwl. Gallwch fod yn y camsyniad yna yn ymarferol, heb ei broffesu. Y mae pawb

ohonoch chwi yn proffesu eich bod yn parchu y Beibl fel y llyfr goreu a fu erioed. Dychrynai eich calon pe b'ai rhyw un yn ei ddirmygu. Ond y mae arnaf ofn eich bod yn aros yn y fan yna. Rhyw barch i'r hanes, ac i'r groes; rhyw barch traddodiadol fel yna i Iesu Grist fel y Dysgawdwr goreu fu yn y byd erioed. A ydych chwi yn credu ynddo am eich bywyd? Yr ydych yn dweyd eich bod yn credu y Beibl, ac yn credu pob gair a ddywedodd Iesu Grist am Dduw, ac am ddyn. Wel, a welsoch chwi ef? a ddarfu i chwi gredu ynddo? credu iddo fel Prophwyd, nes credu ynddo fel Offeiriad? Ac os darfu i chwi gredu ynddo fel Offeiriad, a ydych yn ei ddilyn, ac yn rhoddi ufudd-dod i'w gyfreithiau, a phlygu iddo fel Brenin eich eneidiau? Rhaid i chwi gymeryd y cwbl gyda'u gilydd: Iesu Grist yn bob peth neu ddim.

Edrychwch fel y maent yn perthyn i'w gilydd, gyfeillion. Edrychwch am fynyd ar waith Iesu Grist fel Prophwyd. Pe bawn yn gofyn i chwi yn awr, Beth ydyw ei waith fel Prophwyd? Chwi atebech oll, Dysgu y mae fel Prophwyd. A phe bawn yn gofyn i chwi eto yn mhellach, er mwyn ceisio gwasgu ychydig ar y mater yn nes atoch, Dysgu pa beth? Dyma Iesu Grist yma i fod yn Brophwyd mawr. Ië. Fel Prophwyd yr oedd yn dysgu y byd; ac ni bu neb yn dysgu fel Efe. Gwir iawn; ond fuoch chwi yn meddwl weithiau yn bwyllog, i ddysgu pa beth y daeth Mab Duw i'r byd? A fuoch chwi yn darllen a sylwi beth y mae yn ei ddysgu? Beth a ddysgasoch chwi ganddo? Ni ddaeth Iesu Grist yma i ddysgu pob peth. Nid dysgu rhywbeth, rhywbeth, ddigwyddai a wnaeth Iesu Grist. Ac nid dysgu llawer peth sydd yn fawr yn ngolwg dynion. Ni ddaeth Efe i'r byd i ddysgu seryddiaeth. Ni fwriadwyd mo'r Beibl yma i ddysgu seryddiaeth. Gallwch gymeryd y Beibl yma i gyd wrth son am ddysgeidiaeth Iesu Grist; oherwydd

Efe oedd yn dysgu trwy y prophwydi. Ni ddaeth Efe i'r byd i ddysgu daeareg *(geology).* Ni ddaeth yma i ddysgu athroniaeth. Pe b'ai dyn yn pregethu y pethau yna i chwi am bedair awr, os na ddaw yn mhellach, ni ddaw i gyffyrddiad â dysgeidiaeth Iesu Grist o gwbl. Buasai yn anheilwng i Fab Duw ddyfod yma i ddysgu rhywbeth y gallasai dynion eu dysgu â'u synwyrau eu hunain. Nid yw Duw yn arfer gwneyd rhywbeth y gallai dyn ei wneyd ; ac ni ddaeth Mab Duw yma i wneyd rhywbeth y gallasech chwi eich hunain ei wneyd. Gadawodd i chwi ddysgu seryddiaeth trwy rym eich synwyr, a dysgu natur y creigiau yna trwy synwyr natur. Nid am fod y Beibl yn llefaru rhy fach y mae yn peidio dysgu y pethau yna. Nid bychander y Beibl yw yr achos ei fod yn peidio dysgu *astronomy.* Y mae rhai dynion yn meddwl hyny. Y maent yn meddwl y buasai yn fwy llyfr o lawer pe buasai yma *astronomy* iawn ynddo wedi rhagflaenu Newton a Kepler. Buasai yn llyfr heb ei fath yn eu golwg hwy, pe buasai wedi dangos y cwbl o *geology.* Na ; llyfr bach a fuasai felly. Buasai yn llyfr anheilwng o Dduw. Nid rhy fach i ddysgu y pethau yna yw y Beibl, ond rhy fawr. Ei fawredd ydyw yr achos ei fod yn peidio dysgu pethau y gall dynion eu dysgu.

Daeth Iesu Grist i'r byd, ac anfonodd ereill o'i flaen ; ond daeth Ef ei hunan yn arbenig, i ddysgu pethau uwchlaw y byd. Y mae ei holl ddysgeidiaeth yn cyrhaedd tragwyddoldeb. Y mae yn cyrhaedd heibio y ser ; y mae yn uwch na'r ser ; y mae yn ddyfnach na'r creigiau. Y mae mor uchel a'r nefoedd, a chyn ddyfned ag uffern. Y mae mor uched a Duw, a chyn ddyfned a drwg pechod. Y mae yma anfeidroldeb bob ffordd—i fyny ac i lawr ; anfeidroldeb mewn uchder, anfeidroldeb mewn dyfnder.

Gallwch ranu y cwbl i ddau bwnc. Y mae holl ddysgeidiaeth Iesu Grist yn gynwysedig mewn dau bwnc ; hyny

yw, y mae yn troi i gyd ar ddau beth : Yn gyntaf, ar Dduw yn ei berthynas â dyn ; yn ail, ar ddyn yn ei berthynas â Duw. Dyna y ddysgeidiaeth. Nid Duw na dyn ar wahan. Ni ddaeth yma i ddweyd, i foddio cywreinrwydd, am y Duw mawr. Ni ddaeth yma i foddio cywreinrwydd am ddyn fel creadur ; ond i ddangos Duw yn ei berthynas â dyn ; ac i ddangos dyn yn ei ofnadwyaeth fel y mae yn dwyn perthynas â Duw. A ddarfu i chwi ddysgu y ddau bwnc, fy ngwrandawyr? Dyma y ddau bwnc mawr ; dyma y pethau mawr! Y mae arnaf fod rhai ohonoch heb eu gweled. Fe ddeuant yn fawr yn eich golwg, fel y mae byw eich eneidiau. A mwyaf dreiddiwch i mewn iddynt, mwyaf yr ymddangosant i chwi. Pob peth crëedig, y mae rhyw derfyn arnynt. Y mae yn bosibl gweled y tuhwnt iddynt ; ond dyma ddau bwnc na welwch tuhwnt iddynt i dragwyddoldeb : Duw yn ei berthynas â ni, a pha beth ydym ni yn ein perthynas â Duw.

Daeth Iesu Grist i'r byd, yn gyntaf, i ddysgu am Dduw yn ei berthynas â ni. Daeth yma i ddangos y Tad. Felly yr arferai esbonio. Daeth yma i ddangos y Tad. Nid i ddangos heuliau newydd. Gadawodd i ddynion gael hyny allan. Nid i gael darganfyddiadau mewn natur. Ond colled fawr y byd oedd colli Duw. Dyna wreiddyn y tryblith anherfynol drwy y byd i gyd. Dyn wedi myned heb Dduw ; Duw wedi myned o'r golwg. Wel, dyma swydd—diolch i'r Mab—fe ddaeth yma i ddwyn Duw i'r golwg. Dyma y pwnc mawr. A'i ddangos fel yn perthyn i ni ; fod a fyno Ef â ni ; ei fod Ef yn ein gofyn ni ; fod ganddo ryw ddeddf, a hono yn gofyn ufudd-dod. Fe ddangosodd fod Duw yn sanctaidd, a'i fod yn gofyn yn anghyfnewidiol. Do ; ac fe ddaeth â holl anghyfnewidioldeb Duw i berthynas â phechadur. Dyma yr anghyfnewidioldeb yma yn nghysylltiad â phechadur, yr anghyfnewidioldeb yma o

gosbi am anufudd-dod. Dangosodd ei fod yn drugarog, mae yn wir. Rhoes addysgiadau gwerthfawr ar drugaredd Duw ; ond gofalai ddangos mai trugaredd gyfiawn oedd ei drugaredd Ef ; a bod yn anmhosibl iddi beidio cosbi pechod.

Fe ddysgodd am ddyn wedi hyny, nad oedd ganddo ddim i dalu. Dyn yn ei berthynas â Duw yn euog yn ngwyneb pob gorchymyn, ac yn rhwym o ddyoddef. Dyna ein cyflwr ni Daeth Iesu Grist yma yn Brophwyd mawr i daflu goleu ar ein cyflwr. Y mae cyflwr dyn yn ddrwg. Beth yw y cyflwr? Dyna fater mawr! Dyna ddyfnder! Dyfnder cyflwr euog! Dyfnder trueni dyn wrth natur! Y mae dyn yn rhwym o ddyoddef am dragwyddoldeb! Fe ddaeth yma i ddangos na fedri di wneyd dim yn gyfiawnder i ti dy hunan. Ei amcan Ef yn ei holl bregethu oedd diosg dynion o'u hunan-gyfiawnderau. I beth? I'r cyflwr ddyfod i'r golwg.

A ddarfu i chwi ddysgu y ddau bwnc yma, anwyl bobl? Hen wrandawyr, a deiliaid yr Ysgol Sabbothol, sydd wedi astudio y Beibl, ac yn medru esbonio a gwrando—a ddeallasoch chwi y ddau bwnc yma? A ddysgasoch chwi nes credu fyd Duw yn cosbi pechod, ac fod Duw yn anghyfnewidiol yn gofyn? A gawsoch chwi olwg ar ddrwg y cyflwr yn ngwyneb y Duw hwn?

Wel, yn awr, dyma ni symud yn mlaen at y swydd arall. Os ydych yn credu pynciau fel yna: yr ydych yn dweyd eich bod. Chwi gymerech yn chwith iawn pe dywedwn nad ydych. Wel, os ydych yn credu fod Duw yn gyfiawn, ac yn credu eich bod heb ddim i dalu, beth sydd genych, anwyl bobl? I ba le yr ydych yn meddwl myned am eich bywyd? I ba le yr ydych yn meddwl troi? Pa drefn sydd genych i feddwl cyfarfod â'r Duw hwn, heb gasglu parddu yn yr olwg arno?

Y ddau bwnc hyn! Dim ond i chwi ystyried hyn! Y maent yn eich codi chwi i drefn yr Iawn. Nid oes genym un man i fyned. Y mae wedi darfod arnom. Dyma Dduw yn gofyn perffeithrwydd, a ninau heb ddim i roddi. I ba le yr awn ni? Nis gallwn dalu ein dyled ein hunain. Ni fedr un angel yn y nefoedd ei thalu. I ba le yr awn? Beth ydych yn ei feddwl am dano? Yr ydych yn proffesu eich bod yn credu y Beibl, a dderbyniasoch Fab Duw yn aberth? A roisoch chwi eich hunain iddo yn bechaduriaid colledig? A ydych yn pwyso am dderbyniad gerbron y Duw sanctaidd, ar yr Iawn a wnaeth Iesu Grist ar Galfaria, fel Offeiriad dros bechadur? Pe baem yn cael golwg heno ar ffordd Duw, aem i waeddi am Gyfryngwr. Dim ond i chwi gredu y mater yna, fod Duw yn sanctaidd, aech i waeddi am ryw un—rhyw Gyfryngwr. Dim ond i ti gredu dy fod yn euog, ac yn rhwym i gosbedigaeth, a hyny am dragwyddoldeb; dim ond cael golwg ar ddrwg pechod, byddai yn rhaid cael Iawn. A byddai yn rhaid cael un mawr iawn. Ni wnai neb y tro i lanw gofynion y gydwybod. Ni wyddom ni ddim pa sut y mae hi fry—yr ydym yn siwr na wnai neb y tro yma. Ni byddai neb yn ddigon i lanw gofynion y gydwybod wedi ei deffro, ond un cymaint a Mab Duw i farw drosom. Y mae dynion yn croesi ac yn ymryson yn erbyn trefn Duw i gadw; yn methu deall paham yr oedd Duw yn myned i'r fath draul i achub. Paham na buasai yn achub heb anfon un mor fawr? A phaham na allasai hwnw achub heb wneyd peth mor fawr? Yr oedd yn rhaid cael un mor fawr a'r Mab; ac yr oedd yn rhaid i'r Mab wneyd peth mor fawr a marw. Oedd! Paham? Oherwydd fod pechod yn ddrwg. Dim ond i ni weled pechod yn ddrwg anfeidrol! O, y mae yma rhyw ddrwg diwaelod yn y peehod yma! Ni buasai neb llai na Mab Duw yn gallu gwneyd Iawn am dano. Rhaid cael y Mab! Rhaid cael y Mab!!

Ond diolch am y drefn! O, y maent yn ateb i'w gilydd! Daeth y Mab yma i ddangos fod Duw yn un mor fawr, fel yr oedd yn rhaid cael Iawn mawr; ac i ddangos fod pechod yn ddrwg mor fawr, fel yr oedd yn rhaid cael Aberth anfeidrol yn Iawn drosto.

Ond yr un pryd, nid dyfod yma i ddysgu a wnaeth, ond daeth yma i wneyd yr Iawn, i wneyd y drefn, i roddi ei Hun. Dyma waed i olchi y gydwybod. Dyma ddigon i Dduw a'th gydwybod dithau yn yr un fan. O, gobeithio y bydd yma ryw un yn medru dweyd, Ni a gawsom y Messïah! Peidiwch proffesu ynddo heb ei gael. Ac os cewch ei adnabod fel Offeiriad, yr ydych yn sicr o blygu iddo fel Brenin. Ni allasai Iesu Grist fod yn Frenin heb farw fel Offeiriad. Trwy ei aberth yr aeth i'w Frenhiniaeth. Pe cynygiasai deyrnasu heb farw, buasai y ddeddf yn ddi-rym. Nid wyf yn dweyd na allasai fod yn Frenin cyff-redinol ar natur heb farw. Ond nid oedd modd iddo fod yn Frenin yn ei ras ar galon pechadur heb enill hyny drwy farw. Gwaith brenin ydyw cadw y gyfraith yn ei grym. Wel, pe buasai Mab Duw yn myned i deyrnasu heb Iawn, buasai y gyfraith wedi ei dirymu. Ond yn awr dyma deyrnas gadarn a'i sylfaen mewn gwaed. Teilwng yw yr Oen, medd mawl y nefoedd, i gymeryd y llyfr. Llyfr y Brenin ydyw. Y Llyfr! Llyfr y Duw mawr! Lle y mae wedi rhoddi i lawr weithrediadau ei deyrnas i ddiwedd amser, ac wedi ei selio. Nid oedd neb yn deilwng i agor y seliau ond yr Oen. Ond y mae yr Oen yn deilwng; oherwydd Efe a laddwyd. Dyma deilyngdod! "Teilwng yw yr Oen i gymeryd y llyfr, ac i agoryd ei seliau ef; oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist ni i Dduw trwy dy waed." Y mae teyrnas y Mab fel Cyfryngwr yn seiliedig ar yr Iawn.

Y mae hi felly yma yn mhrofiad y Cristion. Trwy gael

dy fywyd trwyddo, yr wyt yn rhoddi dy fywyd iddo. Y fynud y cei dy fywyd trwy angeu y groes, yr wyt yn penderfynu cysegru dy fywyd er ei glod. O, dyma y drefn! Y prawf eich bod wedi cael eich bywyd trwyddo, ydyw eich bod wedi rhoddi eich bywyd iddo. Y mae arnaf ofn i ni siarad am y mater heb ei weled. Byddwn yn son am Frenhiniaeth Iesu Grist, pa le y mae? A fedrwch ei dangos hi? Y mae yn Frenin yn rhyw le. Yn mha le y mae? A garech ei weled, a gweled ei deyrnas, a chael golwg ar deyrnas wedi ei sylfaenu mewn gwaed, wedi ei phrynu trwy Iawn? A garech gael golwg ar deyrnas Emmanuel? Y mae yma yn yr un byd a chwi. Yn mha le? Y mae yma deyrnas fwy na holl ymherodraethau y ddaear, a chanoedd heb ei gweled. Y mae arnaf ofn fod llawer o'n bechgyn ieuainc heb erioed blygu i Frenin Seion. Y mae Duw wedi myned ar ei lw fod yn rhaid i bawb blygu iddo. Rhaid i bawb blygu iddo! Wel, y mae yma heno i chwi blygu iddo. Y mae modd i chwi roddi gogoniant iddo yn awr trwy blygu iddo.

Wel, pa le y mae ei Frenhiniaeth ef? Pa le bynag y mae ei achos ef. Dyna y gair yr ydych yn ei ddeall: Achos Iesu Grist. Dyna ei deyrnas. Y mae wedi rhoddi ei achos i fyny yn y byd; ac y mae yma yn pledio ei deyrnas, yn pledio ei achos. Plygu i Fab Duw fel Brenin ydyw plygu iddo yn ei achos. A ydych yn foddlon iddo fod yn Frenin? A gaiff efe fod yn Frenin? Dyna y cwestiwn yn niwedd y cwbl. A gaiff fod yn Frenin? Y mae wedi marw, ac wedi prynu hawl trwy farw. Bu farw i brynu hawl i'ch eneidiau. Fe fu farw i gael teyrnasu mewn cyfiwnder ar eich calonau. Bu farw i gadw y gyfraith heb ddianrhydedd wrth eich cael yn ddeiliaid iddo ei hunan. Da iawn genyf fi, medd rhyw un, am Iesu Grist. Yr wyf yn ceisio credu ynddo am fy mywyd. A gaiff fod

yn Frenin? Hen wrandawyr, a ydych yn foddlon iddo fod yn Frenin? Yr ydych am y nefoedd; ond a gaiff efe fod yn Frenin yma? Brenin oddimewn ar yr hen galon? A wnewch chwi blygu iddo yn awr? A gaiff efe eich concro trwy ei ras? A wnewch chwi roddi ufudd-dod iddo o hyn allan? A rhoddi eich hunain i'w wasanaethu? A rhoddi derbyniad iddo yn ei swyddau? Dyma rywbeth *practical.* Yr ydym yn siarad am Iesu Grist yn y pwnc am dano. Wel, dyma fe yn ei swyddau. Y mae wedi dyfod i'r byd yma i bechadur ymorphwys arno; a pha le bynag y mae dyn yn ymorphwys arno, y mae yno ufudd-dod iddo yn y bywyd. Wel, y mae modd i gael hwn yn y cwbl. Y mae modd cael yr Iesu hwn yn holl gynwys ei waith mawr.

Y mae ganddo waith yn awr. Yr ydym yn cyfyngu ein hunain yn ormodol at waith a wnaeth er's llawer dydd. Ond y mae ganddo waith yn awr. Daeth yma i achub. Y mae yn y swydd hon. Y mae wrth ei waith yn Waredwr heno. Y mae modd i chwithau ei gael. O, rhoddwch eich hunain, a deuwch at Iesu yn niwedd y cyfarfod. Y mae yma. Y mae yma yn y dystiolaeth am dano. Y mae y dystiolaeth i bawb. A deuwch drwy y dystiolaeth ato, fel y gwnaeth dysgyblion Ioan. Ni arhosasant i glywed Ioan yn dweyd am dano; ond aethant drwy ei dystiolaeth ef at yr Iesu. Dowch drwy y dystiolaeth ato Ef ei hun. Rhoddwch eich hunain iddo. Ymaflwch ynddo, a chymerwch Ef i chwi eich hunain; ac ewch i gyfamod âg Ef. Peidiwch a'i ranu. Cymerwch Ef yn Brophwyd i'ch dysgu, ac yn Offeiriad i eiriol drosoch, ac yn Frenin i'ch llywodraethu. Ewch adref wedi cael y Messïah. Dyma gael! Beth bynag a gollwch, dyma gael na chollwch mohono byth. Cael yr Iesu yn Grist! Yr ydych wedi clywed am dano, a ydych wedi ei gael?

Y mae rhywbeth yn y cael yma a wna ei ôl arnom, bobl. Fe ddaw yn brofiad heblaw yn dystiolaeth. Ni gawn brofiad. Fe wnaiff ei ôl ar eich calonau, fel na fedrwch beidio dweyd am dano, na pheidio byw er ei glod. Ni fedrwch beidio ymladd drosto, a gwneyd a alloch yn ei wasanaeth. Y mae modd ei gael yn awr. Fe ddaw diwrnod y cei di ei weled ar y cwmwl. Bydd yn rhy ddiweddar y pryd hwnw. Yr Iesu hwn, fe ddaw ar ei orsedd, a phob llygad a'i gwel. Fe ddaw i farnu ryw ddiwrnod. Ond y mae modd ei gael heddyw yn Waredwr. Ië, ei gael; cael Iesu. Dyna gael bywyd; cael bywyd a bery byth. Cael cyfiawnder i dy wisgo. Cael gwaed i olchi oddiwrth bechod. Cael Iesu, dyna gael Duw yn rhan i ni. Dyna gael Brawd, a Phrynwr, ac Eiriolwr. Dyna gael! Dyna gael Offeiriad ddeil dy ben yn yr afon. Dyna gael un fydd yn gafael, yn glynu, pan y bydd pawb wedi cilio.

Wel, fy nghyfeillion, dyna ddyben y cwbl. Fe fyddwn i yn berffaith dawel i chwi anghofio pob gair a ddywedais, ond i chwi fod yn siwr o'r mater yma—eich bod yn myned adref wedi ei gael. Ei gael Ef yn awr; ei gael Ef i chwi eich hunain yn Grist! Y mae yn rhagori ar bawb. Gwrthddrych addoliad yr Eglwys! Y mae modd i chwi ei gael. Yn eich tlodi mawr, y mae modd i chwi gael cyfoeth ond i chwi ei dderbyn Ef yn ei swyddau. Bydded i ni oll ei gael, a bendith Duw ar hyn. AMEN.

## PREGETH XXII.

EPHES. ii. 10: "Canys ei waith ef ydym, wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, y rhai a rag-ddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt."

UN amcan mawr trwy y Beibl ydyw dwyn Duw i'r golwg; oherwydd gwreiddyn crefydd yw y Bod o Dduw. Rhaid i'r hwn sydd yn dyfod at Dduw gredu ei fod Ef. A mwy na hyny hefyd, y mae y Beibl yn dangos Duw yn ei berthynas â'i greaduriaid. Efe wnaeth y cwbl, ac Efe sydd yn llywodraethu y cwbl; ac yr ydym ninau yn gyfrifol iddo, a chenym fater ac achos rhyngom âg Ef. Y mae yn debyg mai dyma ddyben y benod gyntaf oll yn y Beibl, sef, dangos Duw yn Awdwr yr oll o'i waith. Nid dysgu daeareg y mae, ond dysgu pobl i weled y cwbl yn ei berthynas â Duw. "Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear." Ac eto, y mae y Beibl yn dangos fod yr iachawdwriaeth yn tarddu o Dduw. Y mae yr oll o drefn y cadwedigaeth o Dduw. Dyma y prif amcan gyda'r pethau ereill i gyd. Dyna paham y maent yn rhedeg trwy y llyfr, sef dangos Duw yn Dduw yr iachawdwriaeth—Duw yn Nghrist. A dyna sydd gan yr apostol mewn golwg yn y penodau hyn. "Canys ei waith ef ydym, wedi ein creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da."

Cawn enwi tri mater oddiwrth y geiriau.

*I. Gwelwn mai Duw ydyw Awdwr Iachawdwriaeth.*

*II. Iesu Grist yn Gyfrwng yr Iachawdwriaeth:* "Wedi ein creu yn Nghrist Iesu."

*III. Gweithredoedd da yn ddyben yr Iachawdwriaeth:* "I weithredoedd da."

Y mae yr olwg yna yn gosod gweithredoedd da yn bur uchel; y mae yn bosibl yn llawer uwch nag y mae rhai yn arfer edrych arnynt. Ond dyna fel y maent yn cael eu dangos yn y Beibl,—gweithredoedd da yn ddyben trefn yr iachawdwriaeth.

*I. Duw yn Awdwr y drefn:* "Ei waith ef ydym."

"We are his workmanship." Fel pe baech yn meddwl am ddyn celfydd, medrus, yn gofyn pwy wnaeth hwn. Ni raid i chwi ofyn hyny, oherwydd nid oedd neb ond hwn a allasai ei wneyd. Wel, y mae rhyw waith ar enaid y dyn duwiol nas gallai neb ond Duw ei wneyd. Ni threuliaf amser i brofi hyn. Y mae pawb yn cydnabod hyn. Ond ni byddai yn ddrwg dangos perthynas y gwirionedd â ni: Ei bwysfawredd; y gwerth sydd ynddo; fel y mae yn dwyn perthynas â'r oll o'n crefydd. Y mae pob peth crefydd yn cael grym a bywyd o'r grediniaeth mai Duw yw awdwr yr iachawdwriaeth. I'r graddau yr ydym yn credu ac yn teimlo y gwirionedd mawr hwn, i'r graddau hyny yr ydym yn cynyddu mewn crefydd. Y mae pawb yn cydnabod mai peth mawr mewn crefydd yw gweddio. Wel, y mae ysbryd gweddi yn gwaeddi am hyn. Teimlo fod y cwbl o Dduw. I'r graddau hyny y byddwn yn weddiwyr mawr. Nid ydych yn gweddio am beth y gallwch ei wneyd eich hunain. Ond pan y byddwn yn teimlo fod yr oll o'n cadwedigaeth uwchlaw ein gallu ni, fel na allwn wneyd dim, dyna pan y deuwn i ddechreu gweddio. Pe baem yn byw yn awyr y gwirionedd hwn, byddem yn well gweddiwyr. Colli yr olwg ar hyn yw yr achos o'n gwendid mewn gweddi. Y mae y dyn cryf ynddo ei hunan yn wan mewn gweddi. Ond y mae y dyn gwan, sydd yn methu

gwneyd dim ei hunan, yn dibynu ar Dduw. Dyna y dyn cryf mewn gweddi.

Peth mawr iawn mewn crefydd hefyd ydyw ysbryd diolch. Dyna ydyw y nefoedd i raddau mawr. Dyna lle y mae cysur crefydd. Wel, o ba le y daw ysbryd diolch? Wel, o'r fan yma. O'r grediniaeth fod y cwbl o Dduw. I'r graddau y gwelwch Dduw yn mhob peth, i'r graddau hyny y diolchwch iddo.

Peth mawr iawn ydyw ffydd. Y mae y cwbl trwy ffydd. Cadwedigaeth trwy ffydd; trefn y cadw trwy ffydd. Wel, dyna ydyw credu—dyn yn methu ynddo ei hunan; ac yn y teimlad hwnw yn ymddiried mewn un arall. I'r graddau y gwelwn fod y cwbl o Dduw, y credwn, yr ymddiriedwn, yr ymddibynwn arno. Fel yna, y mae y cwbl o grefydd yn ymddibynu ar hyn. "Ei waith ef ydym." Y mae hyd yn nod prif ddyledswyddau crefydd yn gorwedd mewn prisio y pwnc hwn, mai o Dduw y mae cadwedigaeth; oddiyma y cawn rym at bob dyledswydd.

*II. Iesu Grist yn Gyfrwng Iachawdwriaeth:* "Wedi ein creu yn Nghrist Iesu."

Dyma ganolbwynt y drefn i gyd. Dyma yr haul mawr yn ffurfafen y nefoedd. Dyma lle y mae y cwbl wedi ei drysori, a dyma lle y mae yn aros byth. Cyflawnder y Duwdod ydyw Iesu Grist. Y mae y cwbl o Dduw; y mae y cwbl yn Nghrist. Yma eto y mae nerth i ni. Teimlo fod yr oll o'n gras ni yn Nghrist. Pe baech ddim ond yn myned trwy yr epistol hwn, chwi gaech mai dyma brif fater Paul—fod yr oll o gadwedigaeth dyn yn Nghrist. Y mae yma rywbeth mwy, mae yn bosibl, nag *o* Grist. O Dduw, nid *o* Grist. Nid yn unig trwy Grist, ond yn Nghrist. Yn Nghrist yr etholwyd ni cyn bod y byd, "Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd."

Ni buasai modd ethol pechadur ond yn Nghrist. Ni buasai modd i Dduw garu pechadur ond yn ei Fab. Y mae Duw yn sanctaidd, ac y mae Duw yn bur. Pa fodd y carodd Efe ni? Wel, yn Nghrist. Nid ein hethol, a'n rhoddi i Iesu Grist i'n cadw a wnaeth Efe; ond ethol y Mab, a'n hethol ninau yn y Mab; "Megis yr etholodd efe ni ynddo ef cyn seiliad y byd."

Wel, wedi hyny, y mae yn dangos yma ein bod wedi ein creu yn Nghrist. Y mae yn anhawdd dweyd at ba amser y mae yn cyfeirio. Nid oes a fyno trefn Duw âg amser. Nid yw amser yn effeithio dim arno: "O dragwyddoldeb i dragwyddoldeb." Y cwbl yn Nghrist, yr hwn sydd "ddoe a heddyw yr un, ac yn dragywydd." Y mae mewn rhai manau yn llefaru am adgyfodiad Crist fel adgyfodiad i ninau. Fe'n cyfodwyd ni yn Nghrist. Fe ddaeth bywyd i ni yn mywyd Crist. "Wedi goleuo llygaid eich meddyliau," medd yr apostol, "fel y gwypoch beth yw gobaith ei alwedigaeth ef, a pheth yw golud gogoniant ei etifeddiaeth ef yn y saint, a pheth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuagatom ni y rhai ym yn credu, yn ol gweithrediad nerth ei gadernid ef, yr hon a weithredodd efe yn Nghrist, pan y cyfododd ef oddiwrth y meirw." Y mae rhyw gysylltiad rhwng y geiriau yna â'u gilydd. Beth yw rhagorol fawredd ei nerth ef tuagatom ni? Beth yw hyny? Wel, y mae *yn ol* rhyw beth. Y mae yn cyfateb i "weithrediad nerth ei gadernid" ef yn Nghrist. Yr un yw y cwbl pan y cyfododd ef o feirw. Y mae yr achos o adgyfodiad Crist yn cynwys ein hadgyfodiad ninau. Dadblygiad o'r weithred fawr o gyfodi Crist o feirw ydyw ein cyfodi ninau o feddau ein pechodau. Y mae y cwbl ynddo Ef. Y mae yr holl iachawdwriaeth yn ei adgyfodiad Ef. Y mae yr un fath a gwaith y greadigaeth. Fe wnaeth Duw y cwbl mewn chwe' diwrnod. Y mae yn gwneyd rhywbeth wedi hyny. "Y mae fy Nhad,"

medd Iesu Grist, "yn gweithio hyd yn hyn, ac yr ydwyf finau yn gweithio." Efe sydd yn gwneyd pob peth eto, yn rhoddi bywyd i'r cwbl. Y mae pob peth byw yn symud a bod ynddo Ef. Efe sydd yn gwneyd pob peth. Ond y mae y cwbl y mae yn ei wneyd yn awr yn ddadblygiad o'r act fawr o greu y chwe' diwrnod, Nid oes dim newydd yn bod yn awr; nid oes dim defnydd newydd yn cael ei ddwyn i fod, dim un math o ddefnydd na roddwyd bod iddo yn y chwe' diwrnod. Ac nid hyny yn unig, ond nid oes dim gallu newydd, dim *forces* newydd. Nid oes dim mwy o allu yma yn awr nag oedd yn niwedd y chwe' diwrnod. Gwnaed y cwbl ar unwaith; ac eto, yn Nuw y mae y cwbl yn cael ei ddwyn allan fel y mae yn awr.

Y mae rhywbeth tebyg yn nhrefn yr iachawdwriaeth. Nid oes dim yn cael ei wneyd yn nghadwedigaeth pechaduriaid heddyw, nad oedd yn cael ei gynwys yn "nerthol weithrediad Duw" pan y cyfododd Grist o feirw. Yr oedd ein bywyd ni ynddo, a'n creadigaeth ni yn yr act hono. Nid oes yma ddim newydd. Ac eto, fe ddarfyddai y cwbl, oni b'ai fod Crist yn byw heddyw. Y mae yr holl fywyd ynddo heddyw yn aros. Y mae y cwbl ynddo. Y mae ein bywyd ni wedi ei guddio ynddo. Fe'n gosodwyd i gydeistedd gydag ef. Y mae y cwbl yn Nghrist. Dyna lle y mae ein gras ni, yn mawredd y Cyfryngwr.

*III.—Dyben y Cwbl:* "I weithredoedd da."

Nid wn i ddim a ydych yn foddlawn i'r apostol yn y fan yna. Onid ydyw yn codi gweithredoedd da yn rhy uchel. Y mae yn dweyd fod y cwbl wedi cael ei wneyd i weithredoedd da. Y mae Paul, a ninau hefyd, mi a obeithiaf, yn rhoddi lle mawr i weithredoedd da. Nid oes dim modd eu codi yn rhy uchel. Dyna yr unig gwestiwn, pa le y

mae eu gosod hwy? Y maent i fod; ac mae yn rhaid eu cael. Yr unig ddadl yw, pa un ai *o* weithredoedd da, ai *i* weithredoedd da? Fel yna y mae Paul yn penderfynu—*i* weithredoedd da. Nid *o* weithredoedd da, ond *i* weithredoedd da. Rhoddwch le mor uchel ag y mynoch iddynt; ond peidiwch a'u rhoddi yn y dechreu; nid *o* weithredoedd. Ni chedwir neb o weithredoedd. Ond pob un a gedwir, y mae yn rhaid ei greu i weithredoedd da. Dyma ddyben Duw yn y cwbl. Is ddyben, y mae yn wir. Ei ogoniant Ef yw y dyben uwchaf—ei ogoniant ei hunan. Ond sylwch. Ni chaiff Duw mor dyben uwchaf, ond trwy ein gweithredoedd da ni. Y mae gweithredoedd da yn anhebgorol er mwyn i Dduw gael ei ogoniant a'i enw. Fel yna y mae yn meddwl cael gogoniant. "Llewyrched felly eich goleuni gerbron dynion, fel y gwelont eich gweithredoedd da chwi, ac y gogoneddont eich tad yr hwn sydd yn y nefoedd." Ni fedrwch ei ogoneddu ond trwy weithredoedd da. Mae y dyben yma yn y golwg o'r dechreu. Yr ydym ni wedi ein hethol i sancteiddrwydd.

Fe fu Iesu Grist farw i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd, i'n puro yn bobl briodol iddo ei hun, awyddus i weithredoedd da. Wel, dyna ydyw crefydd mewn gair. Cael ein dyben ni yr un peth a dyben Duw. Beth oedd dyben Duw? Beth yw ein dyben ni? Fe anfonodd Duw ei Fab i farw ar Galfaria. I ba beth? Er mwyn ein cael ni yn ddynion da. I gael ei ogoniant ei hunan. Ië, y mae yn wir. Ond ei ogoniant ei hunan trwy ein gwneyd ni yn ddynion duwiol, a'n codi ar ei ddelw. Ychydig iawn y mae y Beibl yn son am ddedwyddwch fel dyben. Ni wn i a ydyw yn son o gwbl ai peidio, erbyn i chwi graffu. Fe ddanfonodd Duw ei Fab i farw, er mwyn ein cael ni i'r nefoedd? Na; uwch na hyny; uwch na dy godi i'r nefoedd. Beth oedd hyny? Dy wneyd yn ddyn duwiol.

Dyna y dyben. Dy wneyd yn ddyn da—dyma rywbeth uwch na hyny. Ein cael ni i fyw yn dduwiol yn y byd sydd yr awrhon, a'n gwneyd yn bobl briodol iddo ei hunan, awyddus i weithredoedd da.

"Y rhai a ragddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt." Fel ffordd i chwi rodio ynddi. Ein gwneyd ni yn gyntaf ac yna gwneyd ffordd i ni rodio ynddi. Y maent i ateb i'w gilydd. Ni wnaeth Duw ddim erioed heb waith ar ei gyfer. Y mae wedi myned i draul fawr i'n hachub, i'n cadw ni. Y mae wedi myned i draul fawr i wneyd y peiriant. Wel, i ba beth? Y mae ganddo waith mawr. Y mae wedi gwneyd y peirianau, yr agerdd-gerbyd, ac y mae wedi gwneyd ffordd iddynt dramwyo. Gweithredoedd da y dyn yw y ffordd y mae efe i rodio ynddi. Dyna y rheilffordd. Dyma lle y byddwch yn ddiogel. Y mae Duw wedi gwneyd y ffordd, ac wedi ei chysegru, ac wedi apwyntio i chwi fyned ar hyd-ddi—"Y rhai a rag-ddarparodd Duw, fel y rhodiem ni ynddynt." Wel, dyma beth mwy na nefoedd. Nyni sydd yn codi gweithredoedd da yn uchel, yn llawer uwch na'r Arminiaid. Y maent hwy yn eu rhoddi yn wreiddyn *o* weithredoedd, a ninau yn eu rhoddi yn ddyben *i* weithredoedd. Duw yn Awdwr, a gras yn wreiddyn. Trefn ddwyfol mewn cyfamod—dyma y ffynonell. Ond eto, y mae gweithredoedd da yn amcan i'r cwbl. Puro, sancteiddio, ein cael oddiwrth y byd, cael ein serch, ein harferion, a'n codi o'r ddaear yn bobl briodol, i fyw yn dduwiol yn y byd hwn.

Yr wyf yn awr yn eich gadael. Cofiwch hyn: y mae y gweithredoedd yma yn bethau rhy uchel i ni fedru eu cyflawni. Nid oes genym yn y diwedd ond ymdaflu yn ol ar y dechreu—"Ei waith ef ydym." Pa le y cawn ni nerth i fyw yn dduwiol, ac i gyflawni ein dyledswyddau, ac i orchfygu ein gelynion, i farweiddio ein llygredd? "Ei

waith ef ydym." Nid oes yma ddim grym i gyflawni gweithredoedd da. Nid oes yma ddim defnydd da o'n mewn. Na, ei waith Ef ydym. Pwyswch ar y gras sydd yn Nghrist. Y mae y cwbl, holl nerth y Duwdod yn Nghrist, o fewn ein cyrhaedd, yn yr hwn y mae i'w gael trwy gredu ynddo ; a hyny fydd yn nerth i ni at bob dyledswydd y gelwir arnom i'w chyflawni. Amen.

# PREGETH XXIII.

---

LUC xvi. 10—12: "Y neb sydd ffyddlawn yn y lleiaf, sydd ffyddlawn hefyd mewn llawer; a'r neb sydd anghyfiawn yn y lleiaf, sydd anghyfiawn hefyd mewn llawer. Am hyny, oni buoch ffyddlawn yn y mammon anghyfiawn, pwy a ymddiried i chwi am y gwir olud? Ac oni buoch ffyddlawn yn yr eiddo arall, pwy a rydd i chwi yr eiddoch eich hun?"

*I. Y GWAHANIAETH rhwng y byd hwn a'r byd a ddaw.*

*II. Y berthynas a ddengys y geiriau rhwng y byd hwn a'r hwn a ddaw.*

*I. Y gwahaniaeth rhwng y ddau fyd.*

Y mae hyny yn rhedeg drwy y tair adnod hyn. Yn gyntaf, dangosir fod pethau y byd hwn yn bethau lleiaf, pethau amser, pethau a welir. Byddai yn fendith i ni gael golwg ar bethau y byd hwn, pe argyhoeddid ni mai pethau bychain yw pethau y byd. Pethau rhy fach i feddwl dyn fyfyrio arnynt, rhy fach i chwi wneyd eich cartref ynddynt. Draw mewn byd arall y mae yn dweyd fod y pethau mawr. A hyny o bethau mawr sydd yma ydyw hyny sydd yn dyfod o hwnw.

Y mae cryn lawer o drafnidiaeth rhwng hwnw a hwn. Yr ydym ni fel rhai yn byw mewn ynys dlawd, a llongau yn trawsgludo pethau gwerthfawr i ni o ynysoedd ereill. Felly pethau bach yw pob peth yma. Pob peth a gloddir yma, y pethau lleiaf ydynt. Ond y mae cyfoeth yn dyfod yma; ac y mae yn bosibl cael digon yma i'ch gwneyd yn gyfoethog mewn byd arall.

Yn yr adnod nesaf dangosir y gwahaniaeth rhwng y gwir a'r gau. Mammon anghyfiawn yw pethau y ddaear. Pethau tragwyddol ydyw y gwir olud. Peidiwch a thwyllo eich hunain ; yr ydych yn fanwl iawn gyda'r aur a'r arian, a'r papyrau, i'w cael yn iawn, yn wir, a didwyll. Byddwch yn gofidio yn arw pe caech eich twyllo. Ond gau ydyw y cwbl i'r enaid. Pethau y byd arall yw y gwir olud.

Dyna y meddwl arall ddangosir yma, sef, mai pethau y byd hwn, eiddo arall ydynt hwy. Rhaid i ni gael pethau byd arall i fod yn eiddo i ni ein hunain. Y mae oen bach, feddyliwn, yn eiddo arall ; hyny yw, un o bethau y ddaear ydyw. Nid chwi piau hwy. Nid ydych ond goruchwylwyr. Beth bynag ymddiriedwyd i chwi, goruchwylwyr ydych. Eiddo ereill ydynt. Y maent wedi eu rhoddi i chwi dros amser byr. *Trust* ydyw, a chymerir ef i ffordd yn fuan iawn. Os ydych am rywbeth yn eiddo i chwi eich hunain, ymaflwch mewn pethau byd arall. Dyma feddiant yn eiddo i chwi eich hunain. Cyfiawnder, a chyfiawnder Mab Duw, dyma hwna yn eiddo i chwi am dragwyddoldeb. Felly y mae yr apostol yn dweyd mewn man arall, pan yn cynghori Timotheus i ddysgu y rhai goludog yn y byd hwn, i beidio bod yn uchel feddwl, ac i beidio gobeithio mewn golud anwadal, ond yn y Duw byw ; i wneuthur daioni, ymgyfoethogi mewn gweithredoedd da, ac fod yn hawdd ganddynt roddi a chyfranu, gan drysori iddynt eu hunain sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod. Chwi welwch y cyferbyniad : y rhai sydd oludog yn y byd hwn, pethau i'w rhoddi i eraill ydynt. Ond os ydynt am drysori iddynt eu hunain, y mae yn rhaid iddynt gael sail dda erbyn yr amser sydd ar ddyfod. Dyma fydd genych i chwi eich hunain. Y mae diwrnod yn ymyl na bydd genych ddim i chwi eich hunain, os byddwch heb grefydd iawn. Dyna y gwahaniaeth rhwng y ddau fyd.

*II. Perthynas y ddau fyd â'u gilydd.*

Y maent yn perthyn yn agos iawn. Sylwn fel y mae ein hymddygiad gyda phethau y byd hwn yn effeithio arnom yn y byd arall. Byddwch ffyddlawn. "Y neb sydd ffyddlawn yn y lleiaf," hyny ydyw, gyda phethau y byd. Y mae o bwys pa sut yr ydych yn ymddwyn gyda phethau y byd hwn. Y mae ffyddlondeb gyda'r pethau ymddiriedwyd i ni dros ychydig amser, pethau goreu y byd hwn, yn effeithio arnom. Y mae yma sylw yn cael ei dalu iddo; ac felly yr ymddug Duw tuag atom yn mhethau byd arall. Dyna yr ystyr, gwnewch a fynoch. Dyna eiriau yr Arglwydd Iesu Grist. "Y neb sydd ffyddlawn yn y lleiaf;" y neb sydd yn gwneyd iawn ddefnydd o'i arian, ac o drugareddau y bywyd hwn, hwnw hefyd sydd ffyddlawn yn mhethau crefydd. Ffyddlawn i Dduw feddylir. Y mae y geiriau yn gymwysiad ar ol dameg y goruchwyliwr. Yno y mae yn son am y goruchwyliwr anghyfiawn. Yr *idea* ydyw mai goruchwylwyr ydym ni ar bethau y byd yma. Y mae genym Feistr ac Arglwydd, ac y mae yn disgwyl i ni fod yn ffyddlawn i'n Meistr. Fe fydd cyfrif am y cwbl; fe fydd cyfrif o'r arian. Fe fydd rhai wedi eu treulio mewn meddwdod, ac ereill mewn gwychder. Ond fe fydd cyfrif am danynt. Wel, bod yn ffyddlawn i'n Meistr yw gwneyd iawn ddefnydd o'r pethau y mae yn eu rhoddi yn ein dwylaw; eu defnyddio i wneyd daioni, i roddi addysg i blant tlodion, i anfon yr Efengyl i Lydaw ac India, ac i gynal Gair y Bywyd yn Nghymru. Y Meistr biau y cwbl. A'r hwn sydd ffyddlawn gyda phethau y byd hwn sydd ffyddlawn yn ei grefydd. Y mae crefydd i fesur mawr yn gynwysedig yn hyn: gwneyd iawn ddefnydd o bethau y byd yma. Dyna ydyw byw yn grefyddol. Dyn yn byw drwy yr wythnos yn anghrefyddol, ac yn brysur gyda chrefydd y Sabbath? Na; rhaid byw yn grefyddol yn y fasnach, a gwneyd pob peth i'r Arglwydd.

Y mae y ddau fyd yn perthyn i'w gilydd. "Ac oni buoch ffyddlawn yn y mammon anghyfiawn a ymddiriedir i chwi, pwy a ymddiried i chwi am y gwir olud?" Beth yw yr achos na byddai mwy o lewyrch ar y pregethau? Wel, nid ydych yn rhoddi digon. Y mae Duw yn rhoddi yr hyn y mae wedi ei roddi i chwi o bwrpas er mwyn i chwi roddi. "Ac oni buoch ffyddlawn yn y mammon anghyfiawn, pwy a ymddiried i chwi am y gwir olud?" Y gwir olud ydyw gras. Nid ydym i ddisgwyl bendith dragwyddol i'n heneidiau, oni byddwn yn gwneyd defnydd ffyddlawn i'r Arglwydd o bob ffyrling y mae yn ei roddi i ni.

Drachefn, yr hwn sydd ffyddlawn yn yr eiddo arall, i hwnw y rhoddir yr eiddo ei hunan. Ffyddlawn ar yr eiddo arall. Y mae cysylltiad yn y fan yma eto. Wrth wneyd iawn ddefnydd o'r pethau hyn y cawn y budd mwyaf i ni ein hunain. Hyny fydd genym i ni ein hunain. Bydd ein gweithredoedd yn ein canlyn. Fel yr ymddygwn yn awr gyda'r pethau y mae Duw yn eu hymddiried i ni, felly y rhoddir i ni drugareddau i fod yn eiddo i ni wrth farw. Dyna fydd genych wrth farw. Y mae bendith Duw yn gyfatebol i'r defnydd yr ydych yn ei wneyd o'i roddion. Ond nid ar roddi llawer y mae Efe yn sylwi; nid maint eich rhoddion, ond eich hysbryd. Y mae y wraig dlawd yn rhoddi mwy na'r cyfoethog. Ar hyny y mae Duw yn edrych. Yr ysbryd sydd yn rhoddi gwerth ar y cwbl, ac yn troi y cwbl yn fendith i ni.

Wel, y mae o bwys pa sut yr ydym yn byw gyda phethau y byd yma. Y mae pob peth yn myned yn bwysig gyda'r Beibl. Treuliwch bob diwrnod a'ch golwg ar dragwyddoldeb. Byddwch byw fel rhai yn teimlo fod yr Arglwydd Iesu yn edrych arnoch. Nid yw yn rhoddi y dillad, y gwres, y goleu, y bwyd, er mwyn i ni fyw i ni ein hunain,

a phorthi ein blysiau, a dilyn pleserau, ac i sathru ei ddeddfau sanctaidd dan ein traed, ond i gysegru ein galluoedd, a'n talentau, a'r cwbl i'w wasanaethu. Gwnaed ni yn ffyddlawn. Amen.

## PREGETH XXIV.

1 Cor. xv. 17: "Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer yw eich ffydd chwi; yr ydych eto yn eich pechodau."

"AC os Crist ni chyfodwyd." Po fwyaf a ddarllenwn ar y Beibl, ac a chwiliwn i mewn iddo, mwyaf yn y byd a welwn o'r pwys a roddir ar yr undeb rhwng Crist a'i bobl. Y mae hyn yn rhedeg drwy holl Efengyl Ioan. A braidd na allem ddweyd nad yw Paul yn ymresymu ar un pwnc nad yw yn dwyn hyn i mewn, fel sylfaen pob ymresymiad, sef, yr undeb rhwng Crist a'i bobl.

Y mater yma ydyw adgyfodiad y meirw. Y mae llawer o ysgrifenu wedi bod ar hyn. Ond ychydig sydd yn cymeryd y llwybr a geir yn ysgrifeniadau Paul. Y prawf mawr o adgyfodiad y meirw ydyw adgyfodiad Crist. Yn y fan yma y mae yn dechreu. Dyna y fan y mae yn cael sylfaen i'w holl ymresymiadau. Y mae yn gweled cysylltiad anwahanol rhwng y ddau. Os gwadwch y naill, yr ydych yn gwadu y llall; ac os addefwch y naill, yr ydych yn addef y llall. Os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist ychwaith. Y mae dweyd na chyfodir y meirw yr un peth yn union a dweyd fod Iesu Grist yn y bedd. Ni chyfodwyd Crist ychwaith. Ni buasem ni yn synu cymaint, pe buasai yn dweyd, Os Crist ni chyfodwyd, ni chyfodir y meirw ychwaith. Ond fel arall y mae y geiriau: Os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist ychwaith. Y mae hyn yn dangos fod perthynas agosach na chyffelybiaeth yn bod rhyngddynt. Nid cyffelybiaeth yw y cwbl. Nid *analogy*, nid cyffelybrwydd, ond sicrwydd;

y sicrwydd mwyaf diymwad sydd yma, fod adgyfodiad y saint yn gynwysedig yn ei adgyfodiad Ef. Y mae y naill yn Achos, ac y mae y llall yn Effaith. Os gwadwch yr effaith, yr ydych yn gwadu yr achos. Os y meirw ni chyfodir, ni chyfodwyd Crist ychwaith. Y mae hyny yn dweyd ar unwaith fod gwaith Crist yn aneffeithiol. Y mae yn dryllio yr undeb rhwng Crist a'r eglwys. Ac os Crist ni chyfodwyd, ofer yw eich ffydd chwi. Fel hyn, y mae holl athrawiaethau y Beibl yn dal perthynas â'u gilydd. Os gwadwch yr adgyfodiad, yr ydych yn gwadu adgyfodiad Crist. Os gwadwch adgyfodiad Crist, yr ydych yn yspeilio eich ffydd o'i gwrthddrych a'i sylfaen. Nid oes ganddi ddim i bwyso arno. Ofer yw eich ffydd chwi; yr ydych eto yn eich pechodau. Nid oes un gobaith am waredigaeth oddiwrth bechod. Yr ydych wedi eich rhwymo mewn anobaith tragwyddol. Yr ydych yn ngafael eich pechodau.

Cyn myned yn mhellach, gweddus ydyw i mi apelio oddiwrth y gair yma at y rhai sydd yn credu fel hanes fod Iesu Grist wedi cyfodi oddiwrth y meirw. Yr ydym yn cymeryd yn ganiataol fod y cwbl yn wir; fod Iesu Grist wedi marw, ei fod wedi adgyfodi y trydydd dydd. Ond y mae yn bosibl fod y cwbl yn gelwydd i ni, nad yw y cwbl ddim ond hen hanes gwag i ni. Y mae hyny yn gwneyd ein cyflwr ni yn waeth. Y mae gwrandawyr efengyl yn Nghymru yn byw fel pe buasai Iesu Grist heb gyfodi. Y mae eu ffydd yn ofer; y maent eto yn eu pechodau. Nid yw Iesu Grist wedi cyfodi i'r rhai yma. Y mae y cwbl yn ddisail, heb ddim cynwys na sylwedd ynddo.

Ond dyna y mater sydd yma, y pwys a roddir ar adgyfodiad Crist. Y mae ein crefydd i godi o hyny; ac y mae i ymddibynu ar hyny. A ydyw Iesu Grist wedi cyfodi? Byddai yn dda iawn pe baem yn cymdeithasu â'r gwirionedd hwn; nyni sydd yn teimlo yn fwyaf tawel yn

ei gylch fel pwnc. Gallai nad ydym yn ddigon ymarferol yn cymdeithasu â'r pwnc yma—Iesu Grist wedi cyfodi. Yr ydym i gyd yn son llawer iawn am Iesu Grist wedi marw, wedi dyoddef, wedi myned yn ein lle ni, a rhoddi Iawn i'r gyfraith. Ond nid mor fynych yr ydym yn myfyrio ar bwnc y testyn, Iesu Grist wedi cyfodi. Byddai yn help mawr iawn i'n ffydd, pe baem yn troi yn aml at hwn.

Y mae Iesu Grist wedi cyfodi. Y mae yn fyw. Ceidwad byw ydyw! Y mae yn y byd yn awr! Nid hanes yw y cwbl sydd genym am ryw un wedi bod, ond Person sydd yn bod yn awr, yn wrthddrych byw i ni fyned ato, i ymddiried ynddo. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng credu hanes am ryw un, a chredu yn yr un hwn. Credu hanes ydyw credu am Iesu Grist wedi marw, os gadewir allan ei fod wedi adgyfodi. Ond y mae y meddwl fod Crist wedi cyfodi yn dyfod a Christ yn Berson i ni yn awr i ymaflyd ynddo trwy ffydd. Y mae efe yn bod i gydymdeimlo â ni. Y mae yn gwybod am danom; a gallwn ninau fyned ato i roddi ein hachos iddo. I'r dyben o argraphu hyn, crybwyllwn un neu ddau o ystyriaethau.

1af. Dyoddefiadau a merthyrdod yr apostolion fel tystiolaeth o'r pynciau yma. Fe fu rhai farw dros y mater. Yr oeddynt mor sicr nes marw. Ac yr oedd y rhai hyny yn rhai nad oedd modd eu twyllo. Rhaid eu bod yn gwybod. Y mae llawer iawn yn hyny. Nid oes neb wedi marw erioed dros ddim nad oedd yn credu ei fod yn wir. Ni bu neb farw dros ddim yr oedd efe yn gwybod nad oedd yn wir. Rhaid ei fod yn ei gredu, neu ni buasai yn marw drosto. Yr oedd yr apostolion mewn mantais i wybod a oedd hyn yn wir ai peidio. Y mae rhai wedi marw dros y peth yr oeddynt hwy yn gredu oedd yn wir, heb i hyny fod. Ni allai yr apostolion wneyd hyny. Gwyddent hyny

o'r goreu. Gwyddent a oeddynt wedi gweled Iesu Grist ai peidio. Nid ar dystiolaeth ereill yr oeddynt yn credu. Buont farw i dystio eu bod hwy yn credu. A'r peth oeddynt yn ei gredu oedd, eu bod hwy eu hunain wedi gweled yr Arglwydd Iesu Grist ar ol ei groeshoeliad. Rhaid eu bod yn gwybod. Ac y mae yn rhaid eu bod yn credu ei fod yn wir, neu ni buasent yn marw drosto.

2il. Troedigaeth yr Apostol Paul. Dyna ffaith fawr y Beibl. Y mae dyn fel Paul wedi troi ; nis gall neb wadu hyny. Y mae gelynion Cristionogaeth yn addef hyny. Y mae eu hathrawiaethau yn dangos hyny. Ac nid un hawdd i'w hudo oedd Paul. Dyn heb ei fath oedd. Dyma y dyn hwnw yn cael ei droi : wedi bod yn elyn Cristionogaeth, daeth yn un o'r rhai cryfaf o'i phlaid. Beth a'i trodd ? Ni buasai yn cymeryd peth bychan i'w droi. Wel, fe glywodd Iesu Grist yn llefaru wrtho. Fe gyfarfu âg ef, wedi adgyfodi, ar y ffordd i Damascus. Dyna ffaith anwadadwy. Dyna un o'r esiamplau goreu i argraphu ar ein meddyliau fod hwn yn bod.

Wel, yn awr y mae yr apostol yn tybio yma, os cyfodwyd ef, nad yw ein ffydd yn ofer. O'r gwreiddyn yna y mae yn tarddu holl nerth ffydd y Cristion. Nid yw ein ffydd yn ofer. Y mae y naill mor sicr a'r llall. Y mae sicrwydd ffydd yn cyfateb i sicrwydd adgyfodiad Crist. Os yw Crist wedi cyfodi yn sicr, yna y mae ein ffydd ninau mor sicr. Yn adgyfodiad Crist y mae sicrwydd i ffydd y credadyn.

Yn gyntaf, Sicrwydd gwaredigaeth. Sicrwydd am faddeuant ; sicrwydd iachawdwriaeth. O, fy ngwrandawyr, nid ydym gyda phethau amwys, ond sicr. Y mae Iesu Grist wedi adgyfodi. Y mae hyny yn profi fod y nefoedd wedi ei boddloni, fod yr Iawn wedi ei gael. Y mae yn profi fod gwaith iachawdwriaeth yr eglwys wedi ei orphen. Y mae pob peth yn barod. Nid yw ffydd yn ofer. Nid

ydym yn pwyso ar beth gwan heddyw am ein bywyd, am sicrwydd cadwedigaeth. Y mae mor sicr a bod Iesu Grist yn y nefoedd. Y mae y naill fel y llall yn eu gilydd yn anwahanol byth. Os bu Crist farw, ac adgyfodi, fe gedwir pawb a gredo ynddo. Cymerwch afael ar hyn, gyfeillion. Pwyswch arno. Os Crist ni chyfodwyd, ofer yw ein ffydd ni ; ond y mae hyny yn cynwys, os Crist a gyfodwyd, nid aiff eich ffydd yn ofer, beth bynag fydd yn ofer. Y mae miloedd o'n cyd-ddynion yn pwyso ar bethau fydd yn ofer, ac a fydd yn troi yn siomedig. Peidiwch a phwyso ar ddim ond Crist. Nid ar eich teimladau ; nid ar eich proffes, nac ar eich moesoldeb, ond ar Grist wedi cyfodi. Yn y fan yma y mae sicrwydd am gadwedigaeth pechadur. Ond dyna beth arall,

Yn ail, Y mae adgyfodiad Crist hefyd yn sicrhau nad aiff ein ffydd yn ofer, oherwydd y bydd gwobr am ein gwaith. Fe fydd tâl am ein llafur. Ni bydd gwaith ein ffydd yn ofer, a'n llafur gyda'r achos. Y mae adgyfodiad Crist yn sicrhau nad aiff ein hymlyniad wrth ei achos ddim yn ddisylw yn ngolwg y nefoedd. Y mae ffydd yn edrych yn ol ac yn mlaen. Y mae yn edrych yn ol at yr hyn sydd wedi cael ei wneyd gan Grist drosto. Y mae yn edrych yn ol i Galfaria. Ac y mae yn edrych yn mlaen i fyd arall. Nid aiff y naill na'r llall yn ofer. Pwy bynag sydd yn credu am ei fywyd yn marwolaeth ac adgyfodiad yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn rhoddi ei hunan iddo, ac yn ymdrechu gyda'i waith—y mae yn cael nerth o adgyfodiad Crist heddyw ; ac y mae yn edrych yn mlaen i adgyfodiad y meirw. Nid aiff hyny ddim yn ofer. Rhyw ychydig bach yr ydym yn ei wneyd drosto, nid aiff ddim yn ofer. Nid aiff cystuddiau yr amser presenol ddim yn ofer ; y profedigaethau a'r dyoddefiadau ; llafurio trwy anhawsderau, a'n golwg yn mlaen gan ddisgwyl y gobaith gwyn-

fydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr. Dyna sydd yn ein cynal—edrych heibio i amser. Y mae ein golwg ar fyd arall. Yr ydym yn byw mewn byd annuwiol. Yr ydym yn disgwyl gwobr. Dilyn Iesu drwy yr anialwch yn ei brofedigaethau, ac yn y gorthrymderau yr ydym. Nid yw yn bechod i chwi edrych yn mlaen ; er fod yr hen ddywediad hwnw yn ddigon gwir, fod rhywbeth gyda chrefydd sydd yn codi dyn i garu Duw er ei fwyn ei hun. Ond eto, y mae yn help i'n ffydd i edrych yn mlaen. Dyna ddaliodd Moses. Edrych yr oedd efe ar daledigaeth y gwobrwy. Bydd tâl i'ch gwaith. Sut y gwyddoch fod y nefoedd yn bod ? Y mae Crist wedi adgyfodi. Sut y gwyddoch y cewch chwi nefoedd ar ol marw ? Y mae ein Hiesu ni wedi myned yno. Y mae yno heddyw gyda'n hachos yn parotoi lle i ni. Y mae ei fynediad Ef yno yn sicrhau y cawn ninau fyned ato. Nid y mae yn bosibl y gwelir ni ar gael ; ond y mae yn rhaid i ni gael y nefoedd. Nid oes un amheuaeth na chawn ni nefoedd. Y mae holl rinweddau marwolaeth Mab Duw o blaid rhoddi bywyd tragwyddol i bawb a gredant ynddo. Nid oes modd ein colli ni. Nid aiff eich credu yn ofer. Nid aiff eich llafur yn ofer. Nid aiff eich ffydd yn ofer. Na ; daliwch am ychydig bach. Beth bynag aiff yn ofer, nid aiff ein ffydd yn ofer. A beth ydyw rhyw ychydig o lafurio at dragwyddoldeb o orphwys ? Cymdeithasu â'r hwn fu farw yn ein lle ! Ein tragwyddoldeb i fod gydag Ef ! Myned i mewn i lawenydd ein Harglwydd ! Bod uwchlaw pob pechod !

Y mae hyn yn cynwys na byddwn yn ein pechodau ein hunain. Os Crist ni chyfodwyd, yr ydych eto yn eich pechodau. Ond os cyfodwyd ef, cewch gyflawn ryddhad oddiwrthynt. Y mae Crist wedi adgyfodi. Ymaflwch yn hyn. Y mae ein Crist yn byw yn awr. Mae undeb rhwng

rhai ohonoch âg Ef, na thorir byth mohono. Fe ddeil yn angeu. Y mae yn rhaid iddo gael ei bobl ato. Y mae ei adgyfodiad yn profi eich adgyfodiad chwithau, a'i esgyniad yn profi eich esgyniad chwithau. Y mae rhyw berthynas yn y fan yma. O, fater hapus, undeb â'r Arglwydd Iesu Grist ; perthynas â'r uwchaf yn y nefoedd ! Y mae yn hyfryd meddwl am adgyfodiad y corph o'r bedd ; ond adgyfodiad Iesu fydd ei rinwedd. Ac yn ei rinwedd daw bywyd tragwyddol yn y fan. Y mae Iesu Grist yn perthyn i ni yn awr. Nid yn unig yr oedd yn perthyn i ni, ond y mae. Nid oes dim yn ei berthynas â ni nad yw yn dal heddyw yn y nefoedd. Ac yn rhinwedd hyny, awn ato yn y fan. Cymdeithas yr Iesu ydyw y nefoedd. Mynwch grefydd felly. Y mae rhai sydd yn gwrando yma eto yn eu pechodau. Y maent yn byw fel pe na buasai Crist ; fel pe buasai y ddaear yma heb ei weled. Y maent eto yn eu pechodau. Y mae y cwbl yn ofer iddynt hwy. Yr holl draul fawr wedi myned yn ofer o'u rhan hwy. Ond fe gedwir tyrfa rif y gwlith, beth bynag ddaw ohonom ni. A chedwir pob un, y penaf a'r gwaelaf sydd yn credu yn angeu yr Iesu, a'i adgyfodiad, a'i Berson mawr. Nid aiff eu ffydd yn ofer. Bendith arnoch. Amen.

## PREGETH XXV.

2 Cor. v. 17: "Gan hyny, od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd: yr hen bethau a aethant heibio; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd."

Y PRIF beth yn y benod hon a'r penodau blaenorol ydyw profiad yr Apostol Paul fel gweinidog yr Efengyl, sef dadleu ei ddiragrithrwydd yn ngwyneb cyhuddiadau. Y cysur oedd yn gael yn hyn oedd yn gynhaliaeth i'w feddwl yn ei adfyd, ei boenau, a'i erledigaethau. Dyna y prif fater.

Ond nid yw yr apostol byth yn son am dano ei hun yn faith, heb droi o hyd at yr Arglwydd Iesu Grist. Y mae yn yr adnod gyntaf yn son am dŷ nid o waith llaw, tragwyddol yn y nefoedd. Gallech feddwl yn aml iawn ei fod wedi anghofio ei fater. Pa gysylltiad sydd rhwng hyny â gweinidogaeth yr Efengyl yn awr yr erledigaeth yr oedd gweinidogion danynt yn y dyddiau hyny?

Yr un fath drachefn y mae yn son am y farn: "Y mae yn rhaid i ni oll ymddangos gerbron brawdle Crist." Pa gysylltiad sydd rhwng hyny â phrofiad y Cristion?

Sonia wedi hyny am gariad Crist yn marw drosom ni. Ond y mae fel yn rhyw anfoddlon drachefn heb gysylltu y cwbl â helynt yr apostol fel pregethwr a gweinidog. Dyna oedd ei ddyben yn y benod o'r blaen, pan y mae yn son am ein byr ysgafn gystudd ni, yn odidog ragorol, yn gweithredu tragwyddol bwys gogoniant i ni. Cystuddiau y weinidogaeth yn fwyaf uniongyrchol. Ond y mae yr apostol, wrth drin pob pwnc, yn rhoddi addysgiadau i ni ag

sydd yn lles i bawb. "Tra nad ydym yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir." Dyna sydd yn fy nghynal i i bregethu,—cadw fy ngolwg ar bethau uwch. Yno y mae yn cael cryfder. A dyma lle y mae cryfder i bawb, sef, wrth edrych ar y pethau ni welir.

Ac yna y mae yn dechreu y benod hon gyda hyny, "Canys, ni a wyddom, os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddatodir, fod i ni adeilad gan Dduw, sef tŷ nid o waith llaw, tragwyddol yn y nefoedd." Pe baent yn datod yr hen babell bridd yma, yr erlidiwr yn fy rhoddi i farwolaeth, y mae i mi dŷ nid o waith llaw. Nid wyf yn ofni a phryderu; y mae fy ngolwg i draw, ar dŷ, nid o waith llaw, tragwyddol yn y nefoedd. Yna y mae yn aros ar y mater, er cysuro y Cristion yn mhob oes o'r byd mewn erledigaethau. Y mae trwy ei brofiad ei hunan yn rhoddi cysur i bawb yn yr olwg ar angau o'u blaen hwy eu hunain, neu trwy gladdu perthynasau. Y mae wrth fyned heibio fel yna yn taflu cysur o'i amgylch oddiwrth bob pwnc.

Y mae yn benodol yn cyfeirio at ddau beth yn y benod hon ag sydd yn ei ysgogi gyda gweinidogaeth yr Efengyl: dau brif ysgogydd i holl wir weinidogion y Gair. Y maent yn perthyn i bawb eto. Y mae y ddau beth y mae yr apostol yn ddweyd oedd yn effeithio arno ef ei hunan, yn effeithio ar bob Cristion, i'w wneyd yn awyddus i achub y bobl, ac i lafurio gyda gwaith Crist.

Un o'r ddau yw ofn, a'r llall yw cariad. Y maent yn ddau gwahanol iawn. Ond y mae y ddau yn tarddu o Iesu Grist: "Canys rhaid i ni oll ymddangos gerbron brawdle Crist; fel y derbynio pob un y pethau a wnaethpwyd yn y corph." Y mae yn rhaid i ni oll ymddangos, myfi a'm gwrandawyr. Y mae yn rhaid i ni oll gael ein gwneyd yn amlwg, yn eglur, i bawb gael gweled beth oedd y dyben.

A dyma y gair nesaf, "A ni gan hyny yn gwybod ofn yr Arglwydd, yr ydym yn perswadio dynion." Dyna un peth oedd yn ysgogi pregethwyr yr oes yma—gwybod ofn yr Arglwydd. Ofn yr Arglwydd Iesu Grist feddylir, y mae yn debyg iawn. Pan y daw Efe ar y cwmwl fel Barnwr, bydd yn rhaid i bawb ymddangos ger ei fron. Y mae yma ryw rai yn ei adwaen. A ni yn gwybod mor ofnadwy ydyw cyfarfod â'r Arglwydd Iesu Grist yn y Farn, yr ydym yn perswadio dynion. Ni fedrwn ni ddim peidio, er cael ein herlid; er fod y tŷ oddiallan yn malurio, y dyn oddiallan o ddydd i ddydd yn adfeilio.

Wel, beth sydd yn eich ysgogi, Paul? Wel, gwybod yr ydym ofn yr Arglwydd; mor ofnadwy fydd yr olwg, y diwrnod hwnw, ar y Barnwr. Yr ydym yn cadw y ddau beth hyn o flaen ein llygaid. Yr ydym yn perswadio dynion. Dyma yn awr egwyddor newydd, ac achosydd o lafur Paul fel gweinidog, sef, cariad Crist yn ei gymhell. Ni fedrwn ni yn ein byw ymatal. Paham? Wel, y mae cariad Crist yn ein cymhell ni. Nid ofn yn unig, ond cariad hefyd. Ac nid cael ein gyru yr ydym, ond cael ein cymhell. Cariad Crist at ddynion feddylir yma, ac nid ein cariad ni at Grist. Cariad Crist atom ni ydyw. Y mae yn profi hyny yn yr adnod nesaf, wrth son am ei effeithiau. "Ac efe a fu farw dros bawb." Y mae meddwl am ei gariad mawr yn ein cymhell ni i son am dano. Os nad ydych yn sicr eich bod chwi yn caru Crist, meddyliwch lawer am gariad Crist atom ni. Fel yna y daw y llall—meddwl am ei gariad Ef. Ond i ni gymdeithasu â chariad Crist at bechadur, y mae hyny yn creu cariad ynom ninau at Grist. Yr wyf yn ofni nad wyf yn caru Crist. Wel, cymer y pwnc yma i feddwl am dano, yr egwyddor o gariad Crist atom ni. Ond i ni wneyd hyny, fe gawn nerth i wneyd rhywbeth drosto, beth bynag. Cariad Crist!

"Os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb." Y mae bron yn sicr mai dyna yr ystyr yma. Os bu un farw dros bawb, yna y bu pawb farw, sef, y pawb y bu farw drostynt. Y pawb hyny, fe fu farw drostynt. Dyma fel y mae pob esboniwr yn esbonio y geiriau yn ddieithriad. Yr oedd marw dros yn cynwys marw ynddo. Os bu ef farw dros bawb, y mae yna bawb wedi marw ynddo yntau. "Ac efe a fu farw dros bawb, fel na byddai i'r rhai byw fyw mwyach iddynt eu hunain, ond i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfodwyd." Bûm ni farw ynddo, ac yr oedd hyny yn cynwys ein bod ni i fyw iddo, ac nid i ni ein hunain. Am hyny, yr ydym ni yn ymgysegru i bregethu Crist. Yr ydym yn teimlo effeithiau ei gariad yn ein codi i wneyd a allom i'w ogoniant. Nid ydym am fyw i ni ein hunain, ond i'r hwn fu farw drosom. Dyna ein hamcan. Doed fel y delo, yr ydym wedi ymgysegru iddo. Yn gyntaf, fel Pregethwyr. Ond rywfodd, y mae pob peth a ddywed Paul am dano ei hun yn addysg i bawb. Wedi hyny, y mae yn son am effeithiau y cyfnewidiad: Marw gyda Christ, a byw gydag ef. Yr ydym wedi dyfod i fyd newydd, pob peth yn newydd. Yr ydym wedi dyfod i fyw y pethau newydd. "Am hyny, nyni, o hyn allan, nid adwaenom neb yn ol cnawd; ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, eto yn awr, nid ydym yn ei adnabod ef mwyach." Yr ydym wedi myned i fyd arall—byd ysbrydol. Golwg ysbrydol ydyw ein golwg ar bob peth. Nid ŷm yn adnabod neb yn ol y cnawd. Y mae y rhan fwyaf yn esbonio y geiriau fel yn cyfeirio at Iuddewon a chenhedloedd. Nid ydym yn adnabod neb yn ol y peth ydym mewn cysylltiad â'r byd a'r bywyd hwn, pa un ai tlawd ai cyfoethog, mawr ai bach, a phethau felly. Nid ydym yn adnabod neb fel yna. Byw i Grist, a gwneyd a allom erddo yw ein hamcan. Nid ydym yn prisio neb yn

ol y cnawd. Ac os buom hefyd yn adnabod Crist yn ol y cnawd, eto yn awr, nid ydym yn ei adnabod ef mwyach. Yr ydym wedi cael golwg newydd arno. Buom yn ei adnabod yn ol y cnawd. Buom yn edrych arno fel dyn, a dim ychwaneg ; buom yn edrych arno yn unig yn ei natur ddynol, fel Iesu o Nazareth. Ond erbyn hyn yr wyf wedi cael golwg newydd arno. Y mae Crist yn rhywbeth mwy i ni heddyw. Nid dyn ydyw, ond Duw mewn cnawd, Ceidwad, Offeiriad, Prophwyd, Brenin. Y mae Crist yn Fywyd i ni. Nid wyf yn ei adnabod yn ol yr olwg oddiallan. "Ac od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd; yr hen bethau a aethant heibio ; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd."

Y mae yma Greadigaeth newydd. Dyma waith newydd y Creawdwr mawr. Pob un sydd wedi credu yn Mab Duw, y mae yn greadigaeth newydd. Wel, pwnc mawr i ni ydyw bod yn Nghrist. Yr ydym yn son llawer am hyny,—bod yn Nghrist. Cawn wneyd ychydig sylwadau ymarferol ar hyn, er mwyn i ni gael adnabod ein hunain, a gweled ein hunain, rhag ofn, wedi y cwbl, ein bod yn ein twyllo ein hunain.

A ydym ni yn Nghrist ai peidio ? O, gynulleidfa anwyl, y mae cymaint ag a dâl eich eneidiau yn troi ar fod yn Nghrist. "Nid oes dim damnedigaeth i'r rhai sydd yn Nghrist Iesu." Yr wyf yn ofni nad yw pawb ddim ynddo. Byddai yn ormod credu fod pob proffeswr yn Nghrist. Byddai yn dda i bawb ohonom brofi ein hunain, a dyfod at y mater hwn, a gofyn, A ydwyf yn Nghrist ? Fe ddaw ystormydd yn union—A ydwyf yn Nghrist ? Pa fodd y mae i ni wybod ?

Dyna ydyw yr adnod hon—prawf i bob dyn ei fod yn Nghrist,—" Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur

newydd ; yr hen bethau a aethant heibio ; wele, gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Nid yn unig y mae wedi gwella, ond y mae yn greadur newydd. Nid wedi ei drwsio oddiallan a'i harddu. Y mae hyn yn dda iawn ; ond y mae mwy mewn crefydd ; y mae yn dyfod yn greadur newydd. Creadigaeth newydd ; y mae efe yn greadur ; nid y mae creadur newydd ynddo ; ond y mae efe, y dyn i gyd, yn greadur newydd. Y mae pob peth yn newydd. Gobeithio fod yma rywbeth newydd yn rhyw un. Nage, y mae pob dyn sydd yn Nghrist yn ddyn—gorph ac enaid, oddimewn ac allan, yn gyfangwbl, yn greadur newydd.

Edrychwch ar natur ac ansawdd y greadigaeth newydd. Ni a gymerwn yr hen greadigaeth yn help i edrych ar y mater yma. Y greadigaeth gyntaf, a gwaith Duw fel y dangosir yn nechreu Genesis. Y mae yma ryw debygrwydd ; ond y mae yma ragoriaeth. Dyma y greadigaeth fawr, y nefoedd a'r ddaear newydd. Ond y mae y llall yn rhoddi awgrym i ni, neu gysgod, i ddangos pa fath ydyw y greadigaeth newydd.

Nid awn i sylwi yn fanwl ar waith pob diwrnod yn yr hen greadigaeth ; ond gallwn grynhoi y cwbl i dri pheth. 1af, Goleuni. 2il, Bywyd. 3ydd, Enaid. Dyna y greadigaeth. Dyna hanes creadigaeth. Beth wnaeth Duw yn y chwe' diwrnod ? Goleuni a bywyd. Goleuni i ddechreu, yna bywyd trwy y cwbl : llysiau a bywyd anifeilaidd y môr a'r tir. Ac yn ddiweddglo ar y cwbl, dyma ddyn yn enaid byw.

Wel, beth yw creadur newydd ? Yr un peth mewn ystyr llawer uwch. Yn gyntaf, Goleuni yn Nghrist ; yn ail, Bywyd yn Nghrist ; ac yn drydydd, Enaid yn Nghrist. Dyna greadur newydd. Dyna y peth cyntaf yn y greadigaeth, goleuni ysbrydol. Dyna y peth cyntaf y mae Duw yn ei wneyd yn nhröedigaeth pechadur ydyw ei oleuo ef.

Y mae y tri yna gyda'u gilydd yn Ioan. Goleuni, a bywyd, ac ysbryd. Dyna swm Efengyl Ioan o'i dechreu i'w diwedd. Y mae y penodau cyntaf yn son am Grist fel Goleuni, ac yna am dano fel Bywyd ; ac yna y mae yn son am Ysbryd Crist yn trigo yn y credadyn. Ond y peth cyntaf yw goleuni. Goleu yn dyfod i'r meddwl ar bethau ysbrydol ; gweled pethau tragwyddoldeb. Y mae y pwnc yna gan yr apostol yn y fan yma. "Tra na byddom yn edrych ar y pethau a welir, ond ar y pethau ni welir ; canys y pethau a welir sydd dros amser, ond y pethau ni welir sydd dragwyddol." Goleu newydd ar y cwbl. "Nid ydym yn adnabod neb yn ol y cnawd." A gawsoch chwi olygiadau newydd ? A ydych wedi newid eich barn am y byd ac am bechod ? A ddarfu i chwi weled pethau y byd ysbrydol, heblaw clywed hanes am danynt ? Y mae pawb yn gweled yr hanes yn y Beibl ; ond nid ydynt yn gweled y pethau. Y mae yma fwy na gweled pynciau : y mae y dyn anianol yn gweled y pynciau. Y mae yn bosibl adrodd y pwnc am gyflwr dyn heb weled y cyflwr ei hunan, dim ond hanes y pwnc am dano. Y mae yn bosibl i chwi weled y pwnc, a threfn Iesu Grist i gadw pechadur, heb olwg ysbrydol ar Iesu Grist ei hunan. O gweddiwch am y goleu i weled y cyflwr drwg, i weled pechod a thragwyddoldeb.

Y mae yn bosibl i chwi weled byd arall. Y mae yma rai wedi gweled tragwyddoldeb. Dyna ydyw golwg ysbrydol—gweled Duw yn Dduw Mawr. A ddarfu i chwi ei weled ? Chwi glywsoch am dano. A gawsoch chwi oleu i weled Duw ? A fyddwch chwi yn gweled Duw o'ch blaen yma ? Pa le bynag yr ewch, a fyddwch chwi yn gweled Duw yno ? "Gwyn eu byd y rhai pur o galon, canys hwy a welant Dduw." Dyma ydyw goleu ysbrydol y greadigaeth newydd.

2. Bywyd yn Nghrist. Y mae hyn yn y greadigaeth newydd. Pa le bynag y mae dyn wedi cael tro, y mae yno fywyd newydd. Y mae dau beth ynddo. Yn gyntaf, Bywyd oddifewn; ac yn ail, Bywyd oddiallan. Byddwch yn arfer y gair bywyd yn y ddau ystyr: bywyd ynoch; a bywyd wedi hyny, pan yn y golwg, ei rodiad a'i fuchedd. Pa sut y mae yn byw? Y mae y ddau yn myned gyda'u gilydd. Nid oes bywyd mewnol nad yw yn effeithio ar yr holl fuchedd. Byw yn dduwiol. Y mae yma fywyd o Iesu Grist, ac i Iesu Grist. O'r Arglwydd Iesu Grist y daeth, fel y mae yr adnodau o'r blaen yn dangos. O angeu Crist y cawsom ni ein bywyd. Y mae y bywyd hwnw yn rhedeg yn fawl ac anrhydedd i'r hwn fu farw drosto. Pa fodd yr ydych yn byw? Dyna y prawf dy fod yn Nghrist, fod tro yn y bywyd, a chyfnewidiad. Pa sut y mae gyda hyn? A adawsoch chwi yr hen bethau? A ydyw pob peth yn newydd?

Beth ydyw y bywyd newydd? Y ffordd oreu ydyw cymeryd geiriau Paul ar y mater. Fel hyn y mae efe yn dangos am y greadigaeth newydd: "Dodi ohonoch heibio, o ran yr ymarweddiad cyntaf, yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig yn ol y chwantau twyllodrus; ac ymadnewyddu yn ysbryd eich meddwl; a gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grëwyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd."

Dyna ydyw y greadigaeth newydd: cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd. "Oherwydd paham, gan fwrw ymaith gelwydd, dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog." A ydych chwi wedi rhoddi heibio y celwydd? Mi garwn wybod a ydwyf yn greadur newydd. Dyma reol Duw: Dywedwch y gwir bob un wrth ei gymydog. Digiwch ac na phechwch; na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi. Yr hwn a ladratäodd, na ladrated mwyach. Na ddeued un

ymadrodd llygredig allan o'ch genau chwi. Nid oes un dyn celwyddog yn Nghrist. Y mae yn anmhosibl. Dyn yn Nghrist yn dweyd celwydd! Na; nid yw efe ddim. Dyn yn siarad pethau llygredig, nid yw efe ddim ynddo Ef. Dyma y dyn duwiol: "Na ddeued un ymadrodd llygredig allan o'ch genau." "Tyner ymaith oddiwrthych bob chwerwedd, a llid, a dig, a llefain, a chabledd, gyda phob drygioni." Dyma ydyw y bywyd newydd, a bywyd y Cristion.

Diolch fod un yn medru creu. Fe fuasai yn bur dlawd arnom oni b'ai hyny. Ond y mae Duw yn medru creu. Y mae yma Greawdwr i wneyd trefn ar hen galon ddrwg. Ond heblaw goleuni a bywyd, y mae yma un peth eto.

3. Enaid ysbrydol. Y mae enaid y dyn yma yn enaid newydd mewn ystyr. Y mae yn enaid ysbrydol. Y mae yn cymdeithasu â'r Ysbryd Glân; y mae yn byw yn yr Ysbryd Glân; ac y mae delw Duw arno. Y mae wedi ei adnewyddu i ddelw yr hwn a'i crëodd. Dyma y dyn ysbrydol. Yr oedd y dyn cyntaf yn enaid byw; ond y mae yr Adda diweddaf yn Ysbryd yn bywhau; ac y mae ei Ysbryd yn trigo yn y dyn duwiol. "Y sawl a arweinir gan Ysbryd Duw, y rhai hyn sydd blant i Dduw." Ac y mae presenoldeb a gwaith Ysbryd Duw ynom ni yn ysbrydoli ein hysbrydoedd ninau. Y mae ei ewyllys, ei reswm, ei serchiadau, ei holl enaid yn cymdeithasu â Duw. Y mae llawer o ddadleu wedi bod yn Nghymru, a ydyw yn bosibl i enaid dyn gymdeithasu â'r Anfeidrol. Mewn ystyr ni allwn ddeall Duw, na meddu un dychymyg am dano. Eto, y mae rhywbeth tebyg i Dduw yn y creadur newydd mewn ystyr arall. Pa sut hyny? Yr ydym yn gwahaniaethu rhwng y priodoliaethau cyfranogol a'r priodoliaethau anghyfranogol. Y priodoliaethau anghyfranogol, nid ydym yn debyg i Dduw ynddynt. Nis gallwn byth ddeall Holl-

bresenoldeb. Nid oes genym un syniad am ei Hollbresenoldeb, a'i Hollwybodaeth. Sut yr oedd Duw yn gwybod pethau cyn eu bod? Dyna rywbeth nad oes dim tebyg iddo yn neb dynion. Sut y mae Duw yn llanw pob man? Yr oll o Dduw yn mhob lle—nis gallwn ni mo'i ddeall. Nid oes yma ddim tebyg iddo mewn dynion. Ond y mae yn dda genym ddweyd am y priodoliaethau cyfranogol, fod yn bosibl i ni fod yn debyg i'r Anfeidrol mewn cyfiawnder a sancteiddrwydd, gwirionedd, a chariad. Y mae y creadur newydd yn dwyn delw yr hwn a'i crëodd yn y pethau hyn. Y mae delw sanctaidd Duw ar enaid y Cristion. Y mae delw gwirionedd Duw wedi ei hargraphu arno. Y mae delw cariad Duw ar bob creadur newydd. Dyma ydyw yr enaid ysbrydol, enaid ydyw wedi ei godi ar ddelw yr hwn a'i crëodd.

Dyma fi yn dyfod yn ol at y dechreu. Sut y mae cael y pethau hyn? Beth yw y dyben o son am bethau fel hyn, os nad oes modd eu cael? Sut y mae i mi fod yn greadur newydd? Beth sydd i mi i'w wneyd i gael tro, i gael cyfnewidiad fel yna? Dyma fi yn foddlon gadael pob peth; a charwn yn fy nghalon gael bod yn ddyn arall. Pa sut yr ydwyf i gael y peth yna?

Y mae yr ateb yn adnod y testyn: yn Nghrist. Ynddo Ef mi fyddi yn ddyn newydd. Rho dy hunan i Grist. Cred ynddo. Sut y mae i mi fod ynddo? Wel, trwy gredu. Dyro dy hunan iddo yn bechadur damniol fel yr wyt. Rhed ato; ymguddia dan ei gysgod. O, y mae yn derbyn pechaduriaid! Y mae digon o le yn ei fynwes fawr i'r gynulleidfa yma i gyd. Yn Nghrist—yn yr undeb â Christ. Ond rhoddi dy hunan yn bechadur i Grist, byddi yn greadur newydd. Oddiyma y daw y tro. Peidiwch a cheisio troi eich hunain. Dowch ato Ef fel yr ydych. Diangwch o bob man ato Ef. Rhedwch i'w glwyfau am

eich bywyd. Ond cael cyffyrddiad âg Ef, y mae rhinwedd ynddo i'n gwneyd ninau yn greaduriaid newydd. Y mae rhai wedi bod yn ceisio gwneyd hyn, ond heb fod o ddifrif, feallai. Byddwch o ddifrif. Rhoddwch eich hunain iddo. Y mae Ysbryd Duw yn foddlon i ddyfod i breswylio ynoch. Bendith yr Arglwydd ar hyn. Amen.

## PREGETH XXVI.

2 PEDR iii. 17, 18: "Chwychwi gan hyny, anwylyd, a chwi yn gwybod y pethau hyn o'r blaen, ymgedwch rhag eich arwain ymaith trwy amryfusedd yr annuwiol, a chwympo ohonoch oddiwrth eich sicrwydd eich hun. Eithr cynyddwch mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist. Iddo ef y byddo gogoniant yr awrhon ac yn dragywyddol. Amen."

Y MAE y geiriau yn briodol iawn i chwithau heddyw. Yr ydych chwi yn gwybod y pethau hyn o'r blaen. Yr ydych yn eu gwybod. Yr ydych fel cynulleidfa yn gwybod; yr ydych wedi eich dysgu a'ch egwyddori. Ond y perygl ydyw aros yn hyny, heb yr ymarferiad hwn—heb weithredu felly. Ymgedwch rhag eich arwain ymaith er eich bod yn eu gwybod o'r blaen. Nid yw eich sefyllfa yn ddiberygl i gael eich arwain ymaith.

Dengys y geiriau ddau beth; a disgynwn arnynt yn awr ar unwaith. Mae yr apostol yn dangos—

*I. Pa beth y mae crefyddwyr i gilio oddiwrthynt.*

*II. Pa beth i amcanu ato.*

Dyma waith; dyma sydd yn gofyn sylw. Dyma waith y gelwir ato bawb sydd yn proffesu. Pawb sydd yn meddwl dyfod yn mlaen at fwrdd yr Arglwydd heddyw, y mae ganddynt rywbeth i ymgadw oddiwrtho, ac i fod ar eu gwyliadwriaeth rhagddo yn wastadol; ac hefyd, y mae yma waith y gelwir ni ato, fel amcan i ymofyn am ei gyrhaedd. Yr hyn y gelwir ni i gilio oddiwrtho ydyw amryfusedd yr annuwiol; a'r hyn y gelwir ni i amcanu ato ydyw cynyddu mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

*I. Yr hyn y gelwir credinwyr yn benodol, yn y geiriau hyn, i ymgadw oddiwrtho, ac i gilio rhagddo; i gilio, ac i ymbellhau oddiwrtho: " Ymgedwch rhag eich arwain ymaith"—eich arwain ymaith oddiwrth grefydd, oddiwrth Iesu Grist, drwy amryfusedd yr annuwiol.*

Y mae yn son am yr annuwiol yn y rhan o'r blaen o'r benod; annuwiolion y dyddiau diweddaf. Nid wyf yn gwybod fod y Beibl yn sôn am saint y dyddiau diweddaf; ond y mae yn arwyddo fod annuwiolion y dyddiau diweddaf. Y mae nôd yn cael ei roddi arnynt yn amlwg yn y testyn: " Gan wybod hyn yn gyntaf," yn benaf. Dyma beth neillduol y gelwir ein sylw ato. Os ydych am ddal heb eich dyrysu a'ch maglu, cofiwch hyn yn gyntaf, y daw yn y dyddiau diweddaf watwarwyr. Dyna y dosbarth penodol o annuwiolion y gelwir ni i ymgadw oddiwrthynt.

Wel, yr ydym ni yn y dyddiau hyn yn gweled nad oes dim yn fwy amlwg na hyn—ysbryd gwatwar. Y mae dynion yn ddigon hyf i watwar pethau sanctaidd. Ymgedwch oddiwrthynt. Y mae llawer iawn o lyfrau felly yn cael eu cyhoeddi. Y mae rhyw fath o ddawn ynddynt; ond y mae y dyn yn gwasanaethu Satan; a'r ffordd a gymer ydyw gwatwar. Nid ymresymu y mae, ond gwatwar. Ciliwch oddiwrth yr ysbryd yna. Bobl ieuainc, os gwelwch ddynion a thuedd felly ynddynt, ciliwch oddiwrthynt. Nid oes dim sydd yn llygru mwy arnom nag ymgymysgu â dynion gwatwarus—dynion yn gwatwar y Beibl. Felly y dywedir yma, " Ac yn dywedyd, Pa le y mae addewid ei ddyfodiad ef?" Dyna y pethau sydd yn myned yn mlaen yn y dyddiau hyn. Dyna grynhodeb o'u dywediadau yn awr. Nid yn unig y mae eisieu cilio o'u cyfeillach, ond y mae eisieu cilio oddiwrth eu hysbryd. Y mae yn bosibl i'w hysbryd ymaflyd yn y dynion mwyaf duwiol. Rhyw amheuaeth, anghrediniaeth, ac amharch i

bethau sanctaidd. Gwyliwch rhagddynt. Os daw amheuaeth i'ch meddwl, peidiwch rhoddi lle iddo, peidiwch edrych arno. Ymgedwch oddiwrth bob peth felly ynoch eich hunain. Tuedd at bechod, at bleserau pechadurus, rhyddid pechadurus—dyma wreiddiau anghrediniaeth yr oes. Nid ydynt yn hoffi sancteiddrwydd. Mae yr hen elyniaeth sydd rhyngddynt yno. Y maent yn rhodio yn ol eu chwantau eu hunain. Ymgedwch oddiwrthynt; oherwydd dyna ddiwedd yr ysbryd yma: "Cwympo ohonoch." Nid ar unwaith, ond yn raddol. Y mae dyn ar y cyntaf yn colli blas ar ddyledswyddau ysbrydol crefydd, yn esgeuluso gweddi ddirgel, a darllen y Beibl, yn esgeulus o'i gydgynulliad; colli blas ar ymddiddanion crefyddol, &c. Gwyliwch rhag y ffordd yna. Dyna ddwy ffordd. Y maent yn edrych yn debyg iawn ar y dechreu. Ond y maent yn pellhau yn raddol. Edrychwch beth fydd y diwedd.

Dyna ddiwedd pob gwatwar, pob ysgafnder, pob dibrisdod o bethau crefydd, pob siarad hyf, annuwiol, pob ymgyfeillach halogedig,—dyma y diwedd, "Cwympo ohonoch." Ai dyna ddiwedd rhai o'r ieuenctyd yma? Wel, ymgedwch yn ofalus rhag y pethau yna.

Arweinir ni yn mlaen. Beth sydd i grefyddwr i ymgyrhaedd ato:

*II. Cynyddu mewn gras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.*

Dyma wendid llawer o grefyddwyr: y maent yn byw yn nacaol. Y mae yn haws ymladd â phechod, a chilio oddiwrth ddrwg, heb ymaflyd yn ein dyledswyddau yn gadarnhaol. Y mae yn rhaid i ni gael gweithio. A'r ffordd i gadw y meddwl oddiwrth y pethau sydd yn ei halogi, ydyw ei roddi ar waith i gynyddu mewn ymdrech gwas-

tadol am fwy o ras a gwybodaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist.

Carwn i chwi feddwl, gyfeillion, mai dyledswydd ydyw cynydd. Y mae hwn yn beth i ni fod gydag ef, ymdrechu am ei gael; y mae yn bechod peidio. Fel hyny yr ydym yn cael ein hunain yn gyffredin, y byddai yn ddymunol cael cynydd,—pe y gwelai yr Arglwydd yn dda ei roddi. Ond nid oes dim i'w wneyd ond dysgwyl nes y daw, a bod yn dawel, a gobeithio y daw cynydd rywbryd. Na; eich dyledswydd ydyw cynyddu. Ymdrechwch am y cynydd. Duw sydd yn ei roddi. Nid yw yn ei roddi i'r segur. Nid ar lwybr diogi y cawn ef. Yr ydym i gynyddu, a meddwl am hyn yn wastadol. Yn yr ymdrech y daw, ac nid heb hyny.

Cynyddu, cynyddu! Dylem feddwl am gynyddu yn wastadol; a meddwl am fyned i'r oedfa er mwyn cynyddu, a darllen y Beibl. Dylem ddarllen y Beibl, a gallwn wneyd hyny, a dylem gynyddu mewn crefydd. Cynyddwch! Dyma ydyw crefydd iawn! Prawf fod bywyd yn y grefydd ydyw y cynydd; a hwnw yn gynydd cyflawn. Dyna natur gwir gynydd: cynydd ar y dyn i gyd, oddifewn ac oddiallan. Y mae y cynydd yn cyrhaedd pob cyneddf yn yr enaid. Y mae yr holl ddyn newydd yn cynyddu gyda'u gilydd.

Y mae cynydd afiachus yn bod. Dyma ydyw cynydd iawn, cynydd iachus: bod yr holl ddyn yn cynyddu gyda'u gilydd—cynydd cyflawn. Y mae yr apostol yn dangos hyn. Y mae yn rhywle yn dangos fel y mae y cynydd yn cyrhaedd yn dufewnol ac yn allanol; yn dufewnol yn gyntaf. Y mae yn cynyddu oddifewn, yn cynyddu *i mewn*, yn cynyddu mewn crefydd ysbrydol. Y mae yn dweyd, Chwanegwch at eich cynydd. Dyna y

cynydd oddifewn. "Chwanegwch at eich ffydd rinwedd; ac at rinwedd wybodaeth; ac at wybodaeth gymedroldeb," &c. Ac ar ymyl y ddalen, Chwanegwch *yn* eich ffydd. Ac y mae yn debyg mai dyna yr ystyr. Y mae yn myned yn fwy tufewnol o hyd; un gras yn y gras arall. Chwanegwch yn eich ffydd. Ychwanegwch yn eich ffydd. Yr wyf yn methu cael gafael yn y geiriau: y maent yma yn rhywle. Darllenwch hwynt eto. Y mae y cynydd yn myned o hyd yn fwy tufewnol. Gras mewn gras. Gras yn y gras arall, nes o'r diwedd y mae yn myned yn gariad brawdol; ac yn hwnw gariad: dyna y mwyaf tufewnol. Y mae y cwbl yn derbyn eu nerth o hyny.

Wel, nid yw ond ofer i ninau ymdrechu am yr allanol heb y tufewnol. Mynwch y grasau tufewnol yma. Pe caem y rhai yna, daw yr allanol. Y geiriau nesaf ar ol y rhai yna gan yr apostol ydynt, "Canys os yw y pethau hyn genych," y maent yn peri na byddoch na segur na diffrwyth yn ngwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Pan y bydd dyn yn myned ar gynydd gwastadol oddifewn, y mae hyny yn sicr o roddi cynydd yn ein hymdrech allanol. Mynwch y cynydd cyflawn, gyfeillion.

Y mae yn gynydd gwastadol hefyd. Nid oes dim wedi gwneyd mwy o niwed i ni fel cenedl na chrefydd y tymerau. Mynwch grefydd a chynydd gwastadol ynddi; cynyddu bob dydd. Mae rhyw ymholiad weithiau yn ddymunol iawn, mae yn wir. Nid wyf yn dweyd dim yn ei erbyn—rhyw ysgydwad weithiau i roddi cychwyn newydd arnom. Ond y prawf ein bod yn cael cynydd gwirioneddol ydyw ei fod yn gwneyd ei ôl arnom yn wastadol—dilyn adnabod yr Arglwydd; glynu yn wastadol; para hyd y diwedd. O, dyma rywbeth i chwi amcanu ato. Myned ar gynydd y dyddiau tawel yma. Nid oes dim llawer o swn; ond eto,

feallai fod yma gynydd. A dyma yn ddiau bynciau i gynyddu ynddynt—gras a gwybodaeth.

Cynyddwch mewn gras. Nid cynyddu mewn dawn gymaint, ond cynyddu mewn gras. A ydyw hyn yn farc gan y bobl yma? Myned ar gynydd mewn gras. Sut y mae yma? Yr ydych yn cynyddu mewn cyfoeth; ond a oes cynydd mewn gras? A ydyw yn gymaint, a mwy, yn ein golwg ni na dim arall? A oes amcan ynom am fwy o ras? O, air hyfryd! Cynydd mewn gras! Yn ngras ein Harglwydd Iesu Grist. Cynydd mewn derbyn yr iachawdwriaeth. Dyna yw gras, rhoddi; cynyddu yn rhoddion Crist. Derbyn mwy bob dydd. Pa sut y mae i ni dderbyn mwy? Wel, cymdeithasu mwy: cofio mai ynddo Ef y mae ein nerth, ac nid ynom ni ein hunain. Peidiwn ymddiried ynom ein hunain, a meddwl myned yn mlaen felly; ond credwn fod ein cadernid yn yr Arglwydd Iesu Grist. Derbyn y byddom ohono drwy y moddion. Trwy y moddion y mae derbyn, yn enwedig drwy y Gair. Fel y dywed yr apostol, "Wedi rhoi heibio gan hyny bob drygioni, a phob twyll, a rhagrith, a chenfigen, a phob gogan air, fel rhai bychain newydd eni, chwenychwch ddidwyll laeth y Gair, fel y cynyddoch trwyddo ef." Dyna fel y mae cynyddu. Cynyddu mewn gras ydyw derbyn gras o Iesu Grist. A'r ffordd i dderbyn gras ohono Ef ydyw trwy ddidwyll laeth y Gair—trwy y Gair. A ydym yn cynyddu gyda'r holl ddarllen yma? A ydyw yn cael lle oddifewn? A ydyw yn geni ynom, ac yn myned yn rhan ohonom? Mae yn bosibl cael geiriau yr Arglwydd Iesu yn nerth yn ein henaid, yn rhan o dy ysbryd wrth ymborthi arno. Yr wyt yn sicr o hyn. Rhaid ymdrechu: ni chawn hyn yn yr agwedd segur yma. Rhaid parhau. Rhaid darllen o ddifrif. Rhaid chwilio yr Ysgrythyrau. Rhaid cloddio. Rhaid cnoi ein cîl ar y pregethau yma wedi hyny. Rhaid iddynt

gael lle nes y byddont yn geni yn ein meddyliau ni. Fel hyn yr awn ar gynydd. O, mi ddowch yn ddynion mawr gyda chrefydd! Y mae Iesu Grist am i chwi fod yn fawr, ond yn fawr mewn gras.

Dyna beth arall, gwybodaeth. Y mae eisieu y ddau gyda'u gilydd. Gras ydyw y profiad. Cynydd mewn gras yw cynydd mewn profiad. Ond nid oes profiad i'w gael heb wybodaeth. Rhaid i ni wybod yr Ysgrythyr lân. Yn enwedig rhaid i ni gael gwybodaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Dyma fater i ni i'w astudio. Nid ydym ond plant eto. Y mae yn gywilydd i ni mor ddieithr a thywyll ydym am y Cyfryngwr, ei Berson a'i waith. Cynyddwch yn y wybodaeth am Grist. Ni bydd pob peth arall yn y man yn werth dim. Ond dyma wybodaeth a rydd gysur wrth farw. Astudiwch fwy ar y gwirioneddau am Berson a gwaith yr Arglwydd Iesu. Y mae pob peth yn y wybodaeth yma. Y mae pob gwybodaeth o bwys i bechadur yn y wybodaeth am Iesu Grist. Y mae pob peth ynddo, holl ryfeddodau y nefoedd. Duwdod a dyndod. Dyma fawredd, dyma uchder, dyma ddyfnder! Y mae defnyddiau y nefoedd, cyfiawnder a thrugaredd, yr holl briodoliaethau, a phob peth yn y nefoedd, yn Iesu Grist; a phob peth ag sydd yn angen ar bechadur.

Wel, ynte, ein hiaith fyddo yn ngeiriau yr apostol, "Iddo ef y byddo gogoniant yr awrhon ac yn dragwyddol, Amen." Ar ymyl y ddalen, "hyd ddydd tragwyddoldeb." Iddo ef. Iesu fyddo gwrthrych ein myfyrdod; ac wrth fyfyrio arno, y mae yn sicr o danio ein calonau. Iddo ef y byddo y gogoniant yr awr hon ac yn dragywydd. Amen. Hyd ddydd tragwyddoldeb. Felly yr esponia rhai ef. Dydd tragwyddoldeb. Nid dydd a nos. Y mae yma mewn rhan yn awr. Ond dyma ddydd yn nhragwyddoldeb. Daliwch ati am ychydig bach, os ydych yn ofni na chawsoch grefydd

iawn. Ewch ar gynydd, ac ymdrechwch. Byddwch o hyd yn astudio, ac yn llafurio am fwy ; a rhoddwch eich myfyrdod ar Berson y Cyfryngwr. Yn y man daw yn ddydd goleu, hyd ddydd tragwyddoldeb. O, am grefydd, pe b'ai ond gair ar ein profiad ; daw yn ddydd goleu, pan y gelli ddweyd, Dacw y Duw y credais ynddo. Dyma yr amser y bydd dy holl amheuon wedi darfod, a'th ofnau wedi cilio yn nydd tragwyddoldeb. Un ai dydd byth, neu nos byth, yn nhragwyddoldeb. Y mae hi yn gymysg yn awr. Y mae rhyw ychydig bach o oleu i'r dyn gwaethaf, a rhyw faint o nos i'r Cristion yma. Ond y mae byd o'n blaen, un ai bydd yn nos dragwyddol i ni ynddo, neu yn ddydd tragwyddol. Yn awr y mae penderfynu. Beth bynag ydyw y llwybr y cerddwn arno, y mae yn dybenu un ai mewn nos heb ddydd byth, neu ddydd na ddaw nos byth ar ei ol. O, am gael crefydd a chynydd ynddi, fel y caffom y fendith yn nydd tragwyddoldeb ! Duw a fendithio yn Nghrist. Amen.

## PREGETH XXVII.

GAL. iv. 4: "Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, y danfonodd Duw ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig, wedi ei wneuthur dan y deddf."

UN daioni mawr y mae Cristionogaeth wedi ei wneyd i'r byd yw argraphu ar feddyliau dynion eu cyfrifoldeb personol; dangos y pwys mawr sydd mewn personoliaeth, mewn bod yn ddyn; dwyn dyn i deimlo fod ganddo fater mawr ar ei ben ei hun, rhyngddo ef a Duw, ac yn cyrhaedd i dragwyddoldeb. Y Beibl sydd wedi dweyd hyn.

Ond drachefn, y mae golwg arall hefyd. Heblaw dangos fod dyn yn berson ar ei ben ei hun, y mae y Beibl yn gosod pwys ar gysylltiadau dynion â'u gilydd; ar eu perthynas, ac ar eu cyfrifoldeb mewn teyrnasoedd a gwledydd. Y mae wedi dangos y pwys mawr sydd yn perthyn i gysylltiad dynion a'u gilydd mewn amser, heblaw eu cysylltiad mewn lle. Y mae yn dangos fod cysylltiad rhyngddynt mewn amser, y naill oes yn dwyn perthynas âg oes arall; yr oes hon ag un wedi hon. Mewn rhyw ystyr, y mae y Beibl yn edrych ar holl ddynolryw fel un dyn. Fe fu unwaith yn faban. Wedi hyny, yr oedd y dyn cyffredinol yma yn dyfod yn fachgen; ac wedi hyny, y mae yn dyfod i'w gyflawn faintioli.

A dyna bwnc yr apostol, pan y mae yn son am gyflawnder yr amser. Pan ddaeth dyn i'w lawn faint; pan ddaeth dynion i'w maintioli, cyflawnder yr amser yn hanes dyn. Y geiriau o'r blaen sydd ganddo ydynt: "Dros gymaint

o amser ag y mae yr etifedd yn fachgen, nid oes dim rhagor rhyngddo a gwas, er ei fod yn arglwydd ar y cwbl."

Yr oedd rhyw fawredd yn perthyn i ddynol ryw yn ei sefyllfa o febyd. Mewn rhyw ystyr, y mae dyn yn Arglwydd ar y cwbl. Ond eto, yr oedd yna angen am ei ymgeleddu, am gyfreithiau a gosodiadau. Yr oedd yn rhaid ei gadw yn yr ysgol dan gyfreithiau a rheolau pur gaeth. Nid oedd dyn ddim wedi dyfod i'w lawn faint, i gael ei ffordd, a'i ollwng yn rhydd. Oherwydd y mae efe dan ymgeleddwyr, hyd yr amser a osodwyd gan y Tad. Felly ninau hefyd, pan oeddym fechgyn, oeddym gaethion dan wyddorion y byd. Ond pan ddaeth cyflawnder yr amser, pan ddaeth dynolryw i'r cyfnod yn ei hanes y gellir dweyd fod cyflawnder yr amser wedi dyfod, pan ddaeth yn fab i'w oed, y danfonodd Duw ei Fab.

Beth yw y cysylltiad sydd yma? Wel, rhywbeth fel hyn, y mae yn ymddangos. Yr oedd holl ddynolryw wedi myned yn gaeth, wedi ei gwerthu i gaethiwed, wedi gwerthu eu hunain dan y ddeddf. Nid oeddynt yn rhydd, neu mewn sefyllfa fabaidd, ond caethweision oeddynt. Dyna y ddeddf. A dyna oedd yn gwneyd eu cyflwr yn dlawd, fel nad oedd neb ohonynt, drachefn, yn meddu y gallu, na'r ewyllys, i gyrhaedd eu rhyddid, neu i weithio allan ryddid. Yr oeddynt yn foddlon yn y caethiwed. Dyna eu hanian. A mwy na'r cwbl yr oedd y gyfraith yn eu rhwymo, fel nad oedd modd eu gwaredu heb i'r gyfraith gael tâl; ac ni feddai neb ddim i dalu. Meibion oeddynt i ddechreu; ond yr oeddynt wedi gwerthu eu hunain i gaethiwed. Ni buasai y cwbl oedd ganddynt yn y dechreu ddim yn ddigon; ond yr oeddynt wedi colli hwnw. Yr oedd eu sefyllfa yn anobeithiol, a phawb dan gaethiwed.

Wel, sut yr oedd cael y caethion yn ol yn feibion? Dyna bwnc yr oesoedd. Nid oedd neb ond Duw yn gallu ei ateb. Nid oedd yno un mab yn perthyn i ddynolryw i enill rhyddid i'r lleill. Nis gallent wneyd hyny. Ond pan ddaeth yr amser, fe fynodd Duw ddyfod yn ddyn. Danfonodd Duw ei Fab ei hun i gael y caethion yn feibion. Dyma Fab wedi dyfod i blith dynion, i blith y caethion. Nid hwy enillodd ryddid; ond un oedd uwchlaw deddf a ddaeth yn un ohonom ni, i enill rhyddid i ni. Ac mewn undeb â hwn y mae rhyddid i ninau. Cafwyd trefn i gael dynoliaeth gyflawn, pan wedi colli y cwbl. Cafwyd dynoliaeth berffaith yn Nghrist. Cafwyd maboliaeth uwch nag a fu erioed yn mhlith dynolryw. Ac y mae trefn yn awr i uno dynion oedd wedi colli eu maboliaeth, â'r uniganedig Fab; fel y derbyniont y mabwysiad, ac y delent yn feibion i Dduw, yn yr undeb âg Ef. "Pan ddaeth cyflawnder yr amser, Duw a ddanfonodd ei Fab." "Ac oherwydd eich bod yn feibion, Duw a ddanfonodd Ysbryd ei Fab."

Dyma ddau anfoniad mewn cysylltiad â'u gilydd—y Mab a'r Ysbryd. Yr oedd y ddau mor angenrheidiol a'u gilydd; ac nid oedd modd cael yr ail heb y cyntaf. Y pwnc oedd ein cael ni yn feibion. Nid oedd modd cael hyny ond trwy Ysbryd mabwysiad; ac nid oedd modd cael hyny ond trwy y Mab. Ac mewn canlyniad i anfoniad y Mab, y mae yn anfon yr Ysbryd Glân i'ch calonau chwi, yn llefain Abba, Dad.

Dyna y mater—*Y ddau anfoniad, a'u heffeithiau.* Y mae yma son am y ddau anfoniad, ac effeithiau cyfatebol yn perthyn iddynt.

*I. Anfoniad y Mab a'i effeithiau.*

*II. Anfoniad yr Yspryd, a'r gwaith a wneir eto drwy hyny.*

*I. Anfoniad y Mab a'i effeithiau.*

Y mae dau beth yn cael eu dweyd am hyny; a'r ddau beth yn cyfateb i'r ddau waith. Danfonodd Duw ei Fab: Yn gyntaf, wedi ei wneuthur o wraig. Yn ail, wedi ei wneuthur dan y ddeddf. Dyna ddau bwnc yr anfoniad. Dyma ddau waith yn cyfateb: Fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf; fel y derbyniem y mabwysiad. Y maent yn cyfateb: y cyntaf yn yr ail ddosbarth yn ateb i'r olaf yn y dosbarth cyntaf; yr ail yn yr ail ddosbarth yn ateb i'r cyntaf yn y dosbarth cyntaf. Y maent yn cael eu rhoddi ar gyfer eu gilydd: Wedi ei wneuthur o wraig, fel y derbyniem y mabwysiad; wedi ei wneuthur o dan y ddeddf, fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf. Dechreua yn yr anfoniad, y mae yn dibenu yn y gweithrediad. Y mae yn dibenu yn yr anfoniad, y mae yn dechreu wedi hyny yn y gwaith a wneir drwy hyny. Yn gyntaf, y mae wedi ei wneuthur o wraig. Dyma y Mab, Mab Duw, wedi ei wneuthur o wraig. Bûm i yn hir cyn gweled pwys yr hen ddywediad, mai nid cymeryd person ato ei hun a wnaeth, ond cymeryd ein natur. Yr oedd hyny yn cael ei ddweyd gan yr hen Gristionogion. Yr oeddynt yn dadleu llawer drosto. Ac erbyn edrych, y mae hyn o'r pwys mwyaf. Nid danfon y Mab i gymeryd person dynol i undeb ag Ef ei hun a wnaeth efe; ond un Person, Mab Duw, a ddaeth yn Fab dyn: "Wedi ei wneuthur o wraig." Y mae yma ddirgelwch, a dirgelwch mawr, dirgelwch y dirgeledigaethau, syndod yr oesoedd. Buasai yn beth rhyfedd iawn uno dau mor bell, Duw a dyn. Ond nid uno dau berson wnaed, ond Mab Duw a ddaeth yn Fab dyn: "Wedi ei wneuthur o wraig."

Oni buasai hyn, ni buasai trefn i achub; ni buasai marwolaeth Calfaria ond marwolaeth dyn; ac ni buasai marwolaeth dyn yn achub un enaid byth—dyn perffaith, dyn

wedi cadw y ddeddf hyd farw. Ond dyna sydd yn rhoddi anfeidrol haeddiant yn yr Iawn. Yr oedd marwolaeth Calfaria yn farwolaeth Mab Duw. Mab Duw oedd yn marw! Danfonodd ei Fab, wedi ei wneuthur o wraig. Dyma werthfawrogrwydd yr Iawn. Pa le y mae haeddiant a gwerth yr Iawn? Am mai Mab Duw oedd y Person yn y dyoddefiadau. Nid dyn yn cael ei gynal gan Fab Duw oedd yno, ond Mab Duw ei hunan. Efe ei hun fu yn y cadachau. Tad Tragwyddoldeb ei hunan oedd yno yn faban yn y preseb. Crëawdwr y bydoedd oedd yn marw ar Galfaria. Nis gallwn ni byth gynwys peth fel yna. Nid oes modd ei gynwys. Y mae yma fôr o ryfeddodau yn oes oesoedd.

A dyna sydd yn rhoddi grym i'r gair nesaf. Mab Duw wedi ei wneuthur o wraig, "wedi ei wneuthur dan y ddeddf." Nid dyn perffaith yn cael ei gynal dan y ddeddf; ond efe ei hunan, Mab Duw, dan y ddeddf. Ac y mae rhyw feddwl mawr i hyn. Beth yw ystyr bod dan y ddeddf? Wel, yn gymwys yn ein lle ni. Y Mab yn gymwys, dyna yr ystyr. Yr oeddym ni wedi gwerthu ein hunain i gaethiwed. Dyma y Mab yn entro i mewn i'n cyflwr, yn cymeryd ein hachos; a dyma anrhydedd i'r ddeddf—Mab Duw yn rhoddi ufudd-dod iddi. Dyma lle y gwelwch chwi y ddeddf yn uchel a gogoneddus. Dyma y Creawdwr yn ymostwng i roddi ufudd-dod iddi. Ni ellid ei thori; yr oedd yn dal dynolryw mewn caethiwed. Nid oedd modd ei thori. Yr unig ffordd oedd yn bosibl, oedd i Fab Duw ddyfod i lawr, a myned dani ei hunan. Ac yna, dyma yr effeithiau yn dechreu, Fel y prynai y rhai oedd dan y ddeddf Nid trwy dori y ddeddf, ond trwy brynu ar dir cyfiawnder. Dyma gyfiawnder wedi cael Iawn. Fel y byddai yr hen Fethodistiaid yn dweyd, "Llwyr brynu trwy lwyr dalu." A dyna paham yr oedd

yn rhaid cael y Mab.. Nid oedd genym ddim i brynu. Ond dyma y Mab i dalu y ddyled oll trwy roddi ei hunan. Fe fawrhaodd y gyfraith trwy ufudd-dod, a hwnw yn ufudd-dod hyd angeu.

Ac wedi hyny, dyma yr ail bwnc, yr effaith, Fel y derbyniem y mabwysiad. Y mae wedi dyfod yn gylch yn awr. Dechreuodd yn Mab Duw; ac yn awr y mae wedi dyfod oddi amgylch. Aeth i lawr i'r preseb, i lawr i Gethsemane, i lawr yn ein natur i gaethiwed, i gaethiwed y priddfeini a'r dyoddefiadau. Ac y mae wedi dyfod i fyny, ac wedi dwyn ein mater ni i fuddugoliaeth; a ninau yn feibion yddo, fel y derbyniem y mabwysiad. Ni gawn fod yn feibion fel yntau, ond nid yn ogyfuwch âg ef, ond yn yr un undeb â Iesu Grist.

*II.* Wel, drwy yr anfoniad yna, dyma yr ail fater, *Fe ddanfonodd Duw Ysbryd ei Fab*, "Ac oherwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi." Yn yr undeb hwn â Christ yr ydym yn feibion; a'r foment hono dyna Ysbryd Duw yn cymeryd meddiant o'ch calonau. Y mae yr ysbryd cyn hyny yn y weinidogaeth; ond nid yw yn nghalon neb nes y cred. Y mae yr Ysbryd cyn hyny yn y weinidogaeth; ond nid yw yn nghalon neb nes y cred. Y mae yn gweithio arno o'r blaen, ond nid yn gweithio ynddo. Pwy ddaw âg ef i gredu? Yr Ysbryd; ond nid yw ynddo cyn credu ohono. Gweithio arno drwy y Gair y mae; nid heb y Gair, ond drwyddo. Dyna y drefn. Drwy y Gair y mae yr Ysbryd yn gweithio ar feddyliau y gwrandawyr; a'r fynud y cred pechadur yn Mab Duw, dyna fe yn cael ei godi i undeb dirgeledig â'r Meichiau ei hunan. Y mae yn fab yn Nghrist. A'r foment hono, dyna Ysbryd Crist ynddynt. Dyma undeb gogoneddus!

Yn y Mab yr ydym yn dyfod yn feibion i Dduw; ac y

mae Ysbryd y Mab ynom ninau yn dyfod yn Ysbryd mabwysiad. Ysbryd tragwyddol y trydydd Person yn Nuw ei hunan yn cymeryd meddiant o enaid y credadyn, yn anadlu ynddo, yn byw ynddo, yn gweithio ynddo, yn llefain Abba, Dad.

Dyna yr anfoniad, danfon yr Ysbryd ; a dyna yr effaith, llefain. Lle bynag y mae yr Ysbryd, y mae llefain ; a'r llefain ydyw, Abba, Dad. Beth yw y llefain yn nghalon credadyn tlawd? Llais yr Ysbryd yw. Peidiwch a diystyru a dirmygu llef plentyn Duw. Y trydydd Person sydd yno, yn gweithio, yn treiddio yno, yn puro, Ysbryd mabwysiad yn llefain Abba, Dad. Y mae rhyw daerineb yn llefain, Fy Nhad, Fy Nhad ; llefain mewn ymddiried. Yn mhob trallod y mae yn llefain ar ei Dad ; llefain mewn awydd am ei gymdeithas, a dyfod yn nes ato ; rhyw lefain o'r dyfnder am gael mwy o gymdeithas ac undeb â'r Tad yn Nghrist.

Dyma ei bwnc yn awr, llefain ar Dduw. Peidiwch diystyru y llefain ac ysbryd gweddi. Peth mawr yn ngolwg y nefoedd ydyw hwnw. Y mae efe yn gweddïo. Yr arwydd fod Ysbryd Crist ynot ti, ydyw ysbryd gweddi, Ysbryd galw arno. Peidiwch diystyru y llefain hwn, na gwneyd rhagoriaeth chwaith. Dyma sydd yn rhoddi gwerth ar gyfarfod gweddi, pa faint o lefain sydd ynddo. Ewch yno, nid i fyned trwy y wers. Na ; llefain, gweddio o'r galon at Dduw y nefoedd, a'r un Duw ag a ddanfonodd ei Ysbryd i dy galon sydd yn sicr o wrando pob llef o'r galon ag y mae Ysbryd Duw ynddi. Duw roddo ei fendith. Amen.

# PREGETH XXVIII.*

---

ACTAU xxi. 16: "A rhai o'r dysgyblion o Cesarea a ddaeth gyda ni, gan ddwyn un Mnason o Cyprus, hen ddysgybl, gyda'r hwn y llettyem."

Y MAE y Beibl wedi ei fwriadu i fod yn llyfr o anrhydedd ar ei bobl *hen*. Y mae y peth yma yn tynu sylw, ac os bydd yn ei le, y mae yn haeddu hyny. Y mae pob hen bobl yn deilwng o barchedigaeth, ac yn enwedig hen bobl dduwiol. Y maent yn haeddu parch dau ddyblyg. Ac ni byddai yn arwydd dda ar wlad na chenedl i golli parchedigaeth i henafgwyr. Y mae hyny yn bosibl. Y mae rhyw genhedloedd felly, heb barch i henaint. Pob bachgen yn meddwl ei fod yn ddyn i lywodraethu pawb; a'r diwedd ydyw colli y gallu i barchu, i barchu y da. Y mae yr apostol Paul yn rhoddi hyn fel un o arwyddion y dyddiau diweddaf, amseroedd enbyd. Bydd dynion yn ddibarch i'r rhai da *(despisers of those that are good)*; dim yn medru parchu dynion ddylai hawlio parch. Nid oes un nôd gwaeth ar ddynion. Y mae gobaith hyd y nod am ddyn drwg, a drwg iawn, os bydd ganddo barch i rai da; ond os aiff mor galed ag i golli parch i hen bobl dda, fel yr hen frawd hwn, bron na ddywedem ei fod yn anobeithiol.

Y mae eisieu parchu pob peth da, ac yn enwedig, hen bethau da. Ac o bob peth hen, y mae yn anhawdd cael gwrthddrych yn fwy teilwng o barchedigaeth na hen Gristion.

---

* Pregeth Angladdol a draddodwyd gan Dr. Edwards yn y Bala, er coffadwriaeth am yr Hen Benjamin, yr hwn fu yn gofalu yn ffyddlawn am yr hen Goleg a'r Llyfrgell, Medi 15fed, 1867.

*Hen* Gristion. Dyma un i'w barchu ; dyma un i barchu ei goffadwriaeth. Y mae yn deilwng i ni wneyd a allwn i ddangos ein bod yn barchus o'u coffadwriaeth wedi iddynt farw. Gobeithio y cawn barchu y rhai sydd yn ol eto heb ein gadael.

Yr oedd *efe* yn un hawdd iawn i'w barchu gan ei fod yn hen Gristion. Nid oedd dim rhyw synwyr neillduol, dim mawredd meddyliol o'i amgylch, nac ynddo dim dawn. Ac eto, yr oedd yn ddyn parchus, yn hen ddysgybl, yn enill parchedigaeth. Y mae hyn yn dangos nad yw mawredd ddim yn anhebgorol angenrheidiol i enill parch. Y mae llawer iawn o ddynion mawr yn Nghymru yn ddibarch. Bydd aml un yn gwenieithio iddynt er mwyn cael rhywbeth ganddynt. Ond dyma ddyn tlawd wedi enill parch y dref. Y mae yn anhawdd genym feddwl am neb oedd yn gwybod am dano nad oedd yn ei barchu. Y mae llawer dyn dysgedig a doniol na ellwch ei barchu, y bydd eich cydwybodau yn eich erbyn. Gwelwch fod yn bosibl i chwi gyrhaedd parch heb arian, heb ddoniau, heb ddysgeidiaeth, heb lawer o wybodaeth, heb synwyr cryf anghyffredin—dyma esiampl o'ch blaen. Yr oedd yntau yn ddyn call, doeth a synhwyrol ; ond nid oedd dim anghyffredin, dim mwy neu lai na chyffredin. Ac eto, yr oedd yn cael y fath barch. Y mae yn ddirgelwch pa fodd yr oedd yn cael y fath barch.

Meddyliwch am fynud, pa beth oedd yn ei wneyd felly. Ni pherchid ef ar gyfrif un swydd. Nid y swydd oedd yn ei godi ef, ond yr oedd ef yn dyrchafu y swydd. Ni raid i chwi geisio swyddau er mwyn enill parchedigaeth. Dyna y fan y dyrysa llawer—meddwl, ond cael lle, y gorchymynant barch. Pe cawn fyned yn Barchedig, mi fyddwn yn ddyn parchus. Na, ni byddet, os nad oes defnyddiau parch ynot yn y fan lle yr wyt ti. Pe cawn fyned

yn flaenor, mi gawn innau barch. Na, y mae lle yn gwneyd dyn yn anmharchus, yn fwy anmharchus, os na bydd efe yn addas i'r lle. Yr oedd yr hen ddysgybl hwn yn cael ei barchu er nad oedd na phregethwr na blaenor; er ei fod yn cyflawni un o'r swyddi iselaf yn yr eglwys. Yr oedd yn ei gwneyd yn ffyddlawn. A hyny oedd yn creu parchedigaeth iddo. A dyna y peth mawr. Dyna sydd yn cario dylanwad mewn amser. Gall dyn wneyd sôn am dano am ryw ychydig ddyddiau heb wir deilyngdod. Ond y mae yn darfod. Y mae pob peth gau yn darfod. Ond mae ffyddlondeb yn parhau. Yr oedd hwn yn y swyddau bach oedd ganddo, yn gofalu am bethau allanol, y pethau mwyaf allanol o'r cwbl; eto, enillai barch am ei ffyddlondeb. Y mae hyn yn wers i ni. Y mae yn bosibl i ddyn fod yn uwch mewn parch oherwydd ei fod yn cyflawni swyddau isel. Y mae yn bosibl i ddyn ddangos mawredd wrth wneyd pethau bach. Y mae Iesu Grist yn dysgu hyny i'w ddysgyblion. Os myn neb ohonoch fod yn fawr, bydded weinidog i chwi; a phwy bynag fyno fod yn benaf, bydded was—dyna y penaf, y *slave*. Y dyn sydd yn ddigon difalch a dirodres i wneyd y gwaith nad oes ond y *slave* yn ei wneyd—dyna y dyn mawr, y penaf. Bydded was i chwi. Felly yr oedd Efe ei hunan. Mi a ddaethum i wasanaethu. Dyna fawredd, a dyna wir fawredd! Nid yn unig fe gyrhaeddodd fawredd trwy ddyfod i'r amgylchiadau y daeth iddynt, ond yn yr iselder yna yr oedd ei fawredd yn dyfod i'r golwg.

Wel, yr oedd y cyfaill hwn wedi enill parchedigaeth yn y ffordd yna. Ni fuasai yn cael ei barchu oni buasai ein bod yn bur sicr ei fod yn caru yr Arglwydd Iesu Grist; ac fod ganddo wreiddyn, a'i fod yn dal trwy y cwbl hyd y diwedd, ac yn myned ar gynydd, yr oedd efe yn cynyddu mewn crefydd. Nid, feallai, mewn gwybodaeth, ond mewn duw-

ioldeb. A dyna oedd yn creu parch iddo. Yr oeddym yn teimlo ei fod yn ddyn duwiol. Yr oedd yn myned yn fwy iraidd yn ei henaint. "Hen ddysgybl." Yr oedd yr addewid yn cael ei chyflawni ynddo. "Tirfion ac iraidd fyddant." Yr oedd llawer o ysbryd ieuengaidd ynddo ; ac yr oedd hyny yn creu parch iddo. Nid henafgwr mewn dyddiau yn henaidd yn ei ysbryd oedd efe. Y mae rhai felly, ond dyn oedd hwn yn hen mewn dyddiau ac yn ieuengaidd yn ei ysbryd. Wel, y mae hyn o fewn eich cyrhaedd chwithau oll.

Ond dylem sylwi—Y mae yn anmhosibl bod yn hen ddysgybl heb ddechreu yn ieuanc. Y mae yr esbonwyr yn dweyd yn lled gyffredin fod y gwr hwn, Mnason, yn grefyddwr o'i ieuenctyd. Y mae yn bosibl bod yn hen, a bod yn ddysgybl, heb fod yn hen ddysgybl, yn hen grefyddwr. Yr oedd yn ddysgybl er's llawer dydd. Y mae yn debyg iawn ei fod wedi gweled yr Arglwydd Iesu Grist. Y mae hyn yn ddigon tebyg. Yr oedd yn dda gan Paul fyned i fwyta gydag ef, er mwyn son am yr hen bethau. Wel, dyna sydd yn werthfawr. Dylem werthfawrogi hen ddysgyblion er mwyn yfed o ysbryd yr hen grefyddwyr, er mwyn cadw yn fyw y pethau goreu o'r hen oesoedd i'r oes hon, a'u trosglwyddo i'r oes hon. Y mae sôn am y parchedigaeth a delid i hen bobl yn adeg foreuol Cristionogaeth. Y fath anrhydedd oedd cael hen Gristion i'r ty, i roddi hanes yr apostolion cyntaf, ac i roddi hanes dyddiau boreuol Cristionogaeth. Wel, i gydmaru pethau bach â phethau mawr, y mae rhywbeth tebyg eto. Y mae yn anhawdd genyf feddwl am y bachgen y daw byth yn ddyn mawr, os dn bydd yn hoff o ymddyddan am yr hen bethau, am yr hen ddiwygiadau. Y mae pethau rhyfedd wedi bod yn Nghymru. Nid ydym yn eu cydmaru â phresenoldeb yr Arglwydd Iesu yn y byd ; ond y mae pethau

rhyfedd iawn wedi bod yn ngwlad ein genedigaeth yn Llangeitho—dynion yn cael eu hachub wrth y cannoedd mewn un bregeth! Daeargrynfaau yn ysgwyd y byd moesol. Y mae pethau rhyfedd wedi bod yma! Byddai yn dda genyf i chwi gadw yr hen gapel ar ei draed. Y mae yn gofadail am yr hen adeg. Yr ydym yn claddu yr hen bobl. Dyma un gofadail wedi syrthio, a'i ben gwyn wedi myned i'r bedd. Ond y mae yn werth i'r bobl ieuainc yma fyned i ddefnyddio pob adeg allent gael, i drwytho eu hunain a'u meddyliau yn ysbryd yr hen ddiwygiadau. A'r ffordd i chwi gael hyny ydyw gwneyd yn fawr o gyfeillach yr hen ddysgyblion. Dyma un wedi myned na chewch byth y cyfle mwy. Gobeithio y cofiwch ei ymddiddanion! Nid oedd ganddo lawer o bethau gwreiddiol; ond yr oedd ganddo hanesion am lawer o bethau rhyfedd a welodd ei hunan. Gwnewch yn fawr o'r ychydig sydd eto. Ac os carech chwi, bobl ieuainc, fod yn hen ddysgyblion, y mae yn rhaid i chwi ddechreu yn awr. Os gadewch i'r adeg hon fyned heibio fe fydd y carictor o fod yn hen ddysgybl allan o'ch cyrhaedd am byth; oblegid y mae yn anmhosibl bod yn hen un heb ddechreu yn ieuanc. Fe fyddai yn werth i chwi dreio er mwyn hyny. "Da yw i wr ieuanc ddwyn yr iau yn ei ieuenctyd." Fe fydd yn hyfrydwch i chwi fod wedi ymgynefino â'r iau pan yn ieuanc. Yr ydych yn ffurfio eich carictor yn awr. Fe fydd delw y blynyddoedd yma arnoch os cewch fyw i fyned yn hen bobl. Yn awr y mae i chwi ofalu beth fyddwch yn eich hen ddyddiau. Y mae nwydau dynion yn myned yn gryfach. Y mae tueddiadau moesol yn myned yn gryfach hyd y diwedd; nid teimladau corphorol; ac nid yw nerthoedd y meddwl yn myned yn gryfach, ond yn wanach. Ond y mae rhywbeth yn mhob dyn sydd yn myned yn gryfach, gryfach hyd y diwedd. Yn awr y mae edrych

ati. Y mae cariad at y byd yn myned yn gryfach yn y dyn, pe byddai byw am bedwar ugain mlynedd. Os y byd yw eich duw ; ac os na wyddoch am ryw beth mwy na'r byd yma—os byddwch byw i fyned yn hen, fe fydd y cwbl yn slipio o'ch dwylaw, a'ch cariad yn myned yn gryfach ato. Y mae cariad at Iesu Grist yn myned yn gryfach hefyd yn y dyn duwiol. Y mae rhywbeth mewn hen ddysgybl na wywa ddim hyd angeu. Y mae yn myned yn gryfach. Ac y mae yn aeddfedu at fyd arall. Os nad yw yn myned yn fwy o bregethwr, y mae yn myned yn fwy iraidd, yn fwy aeddfed, yn fwy sanctaidd. Un o'r pethau amlycaf yn hwn oedd hyny. Yr oedd cyfnewidiad amlwg ynddo. Yr oedd fel yn aeddfedu i fyd arall. Gwelais hyny lawer gwaith. Dynion heb ddim hynod ynddynt ; ond pan yn nesau i farw, byddai ysbryd Duw yn gofalu am eu bod yn aeddfedu, fel yr afal ar y gangen, cyn dropio i'r bedd.

Hen ddysgybl, Hen ddysgybl! A ydyw pob hen wr sydd yma yn hen ddysgybl? Gresyn yw gweled y pen yn wyn, y cefn yn crymu, y nerth yn pallu, y llygaid yn pylu; ac eto dim arwydd bod y dyn yn meddwl am ei ddiwedd. Y mae yn amlwg i bawb ei fod yn ymyl tragwyddoldeb; ac eto ei holl afael, a'i serchiadau ar bethau a welir! A ydyw pob hen wr sydd yma heno yn hen ddysgybl? Y mae yn rhy ddiweddar ar rai i fod. Ond nid yw yn rhy ddiweddar i neb i gael gafael ar Iesu Grist. Y mae modd i chwi gael crefydd a ddeil hyd y diwedd. Ond ei dewis, chwi a'i cewch ; a daw gyda chwi hyd y diwedd. Mynwch grefydd i gyd. Dyna fydd yn gysur i chwi wrth farw, ac mewn henaint. Nid oes dim ond hyny a fydd yn gysur mewn henaint a chystudd ond y grefydd hon—Gafael ar Iesu Grist, a rhodio ynddo, a gras yn ein calonau, a dewis Duw yn Dduw i ni. Amen.

